

# Contents



# Rhagair

Ers dros dair blynedd a hanner, mae'r olwynion sy'n gyrru dyfodol ein gwlad wedi bod yn troi yn eu hunfan wrth i ddadl Brexit rygnu ymlaen. Mae'r etholiad hwn yn rhoi cyfle i ni drawsnewid ein gwlad a chreu dyfodol mwy disglair. Mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol weledigaeth uchelgeisiol ar gyfer pwy y gallwn fod – cymdeithas lle mae pob plentyn a pherson ifanc yn cael ei feithrin i fod pwy bynnag y mae'n dymuno bod, lle bydd gweithio'n galed a dilyn y rheolau yn golygu y gallwch fyw bywyd hapus a boddhaus, a lle rydym ni'n gwneud popeth o fewn ein gallu i achub ein planed ar gyfer cenedlaethau'r dyfodol.

Ac mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol gyfle mawr yn yr etholiad hwn. Does dim terfyn i'm huchelgais ar gyfer ein plaid wrth i ni gyflwyno ein gweledigaeth gadarnhaol ar gyfer dyfodol mwy disglair i'r wlad.

Yn ystod yr ychydig fisoedd diwethaf, mae degau ar filoedd o bobl wedi ymuno â'n plaid wrth i'n haelodaeth barhau i gyrraedd lefelau uwch nag erioed. Rydym ni wedi cael ein hetholiadau lleol gorau erioed ac wedi curo Llafur a'r Ceidwadwyr mewn etholiad cenedlaethol am y tro cyntaf mewn can mlynedd, gan ddychwelyd 16 Aelod o Senedd Ewrop (ASE). Ac mae cyn Aelodau Seneddol Llafur a Cheidwadol wedi ymuno â ni oherwydd eu bod yn gwybod ein bod ni eisiau creu cymdeithas agored, deg a chynhwysol. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn sefyll yn gryf, yn tyfu bob dydd, ac rydw i mor falch o fod yn ymgeisydd y Democratiaid Rhyddfrydol i fod yn Brif Weinidog yn yr etholiad hwn.

Dywedir wrth bleidleiswyr mai'r unig ddewis yw'r Ceidwadwyr neu Lafur. Ond pan edrychaf ar Boris Johnson a Jeremy Corbyn, rwy'n gwybod y gallwn wneud yn well fel Prif Weinidog na'r naill neu'r llall ohonynt. Mae ein gwlad yn haeddu gwell na'r hyn a gynigir gan y ddwy hen blaid, a arweinir gan ddynion sydd eisiau ailddefnyddio syniadau o'r gorffennol – p'un ai'r 1870au neu'r 1970au – a mentro dyfodol ein plant.

Gallwn wneud dewis gwell. Yn yr etholiad cyffredinol hwn, gall pobl ddewis pleidleisio dros y Democratiaid Rhyddfrydol. Gallant ddewis llywodraeth a fydd yn creu'r fath o wlad a chymdeithas rydym ni'n eu haeddu, lle gall pob unigolyn, pob cymuned a'n planed ffynnu. Gallant ddewis pa fath o wlad yr ydym ni – agored a hael, neu gaeëdig a hunanol. A gallant ddewis p'un a ydym yn gweithio gyda'n

cynghreiriaid agosaf neu'n sefyll ar wahân yn y byd.

I ormod o bobl, nid yw pethau'n gweithio fel y dylent. Maen nhw'n gweithio'n galed ac yn dilyn y rheolau, ac eto maen nhw'n ei chael hi'n anodd talu'r rhent a bwydo eu teuluoedd, ac nid ydynt yn teimlo'n hyderus y bydd eu plant yn cael cyfleoedd gwell nag y cawson nhw. Nid yw hynny'n ddigon da.

Ac yn lle canolbwyntio ar sut gallwn greu dyfodol mwy disglair i bawb, mae Brexit wedi dominyddu ein gwleidyddiaeth yn llwyr. Nid gadael yr Undeb Ewropeaidd yw'r ateb i'r rhiant sengl sy'n ymdrechu i gael deupen llinyn ynghyd, i'r plentyn y mae arno angen mwy o gymorth yn yr ysgol, neu i achub ein planed. Yn wir, dim ond gwaethygu'r problemau hynny y bydd yn ei wneud.
Mae ein gwleidyddiaeth yn newid, a gallai'r etholiad cyffredinol hwn arwain at newid anferthol a all esgor ar wleidyddiaeth newydd a gwahanol. Gwleidyddiaeth wedi'i seilio ar obaith, nid ofn. Gwleidyddiaeth lle y gall pob unigolyn a chymuned ffynnu, a lle rydym yn gweithio gyda'n gilydd i achub ein planed ar gyfer cenedlaethau'r dyfodol.

I mi, mae'r dewis yn glir. I atal Brexit a chreu dyfodol mwy disglair, pleidleisiwch dros y Democratiaid Rhyddfrydol. Mae gennym ni'r cynllun y mae ein gwlad yn ei haeddu, ac rydym yn barod i'w gyflawni.

Jo Swinson

**Jo Swinson, Arweinydd y Democratiaid Rhyddfrydol**



# Cyflwyniad

Mae Democratiaid Rhyddfrydol Cymru yn ymladd yr etholiad hwn gyda chynllun clir i greu dyfodol mwy disglair i Gymru. Mae cam cyntaf y cynllun hwn yn syml: atal Brexit a defnyddio'r bonws a ddaw yn sgil aros i fuddsoddi yn ein gwasanaethau cyhoeddus.

Rydym ni'n ymladd yn ddiedifar dros aros yn yr Undeb Ewropeaidd, a ni yw'r blaid gryfaf dros Aros. Credwn fod y dyfodol gorau i'n gwlad yn bosibl trwy fod yn aelod o'r Undeb Ewropeaidd, ac y bydd Brexit o unrhyw fath yn gwneud drwg i economi Cymru, yn niweidio ein GIG ac yn rhoi straen enfawr ar ein teulu o genhedloedd.

Gadewch i ni fod yn glir – nid oes unrhyw gytundeb Brexit a fydd byth cystal i Gymru â'r cytundeb sydd gennym ar hyn o bryd fel aelodau o'r Undeb Ewropeaidd.

Rydym ni'n benderfynol o atal Brexit nid dim ond er mwyn aros yn aelod o amryw sefydliadau'r Undeb Ewropeaidd (UE). Mae'n ymwneud â phwy ydym ni fel gwlad a'r gwerthoedd sy'n ein sbarduno. Mae'n ymwneud â gweithio gydag eraill i fynd i'r afael â'r heriau mawr sy'n ein hwynebu, nid cilio i'n cragen oherwydd bod cydweithredu a chyfaddawdu'n rhy anodd.

O'r argyfwng hinsawdd i seiberdroseddu, rydym yn cydnabod nad yw gemau swm-sero y gorffennol yn berthnasol mwyach i fyd lle mae ein ffyniant yn y dyfodol wedi'i gysylltu mor agos â ffyniant ein ffrindiau a'n cynghreiriaid.

Bydd aros yn yr Undeb Ewropeaidd yn cynhyrchu bonws Aros £50 biliwn, a bydd yr economi'n tyfu'n gyflymach pe byddwn yn aros yn aelodau o'r UE. Mae hynny'n golygu gwarchod swyddi o Sir y Fflint i Abergwaun, o Gas-gwent i Gaernarfon. Mae'n golygu y bydd busnesau ffermio'n goroesi fel y gellir eu trosglwyddo i'r genhedlaeth nesaf. Mae'n golygu helpu pobl allan o dlodi a gwneud bywyd ychydig yn haws iddynt.

Bydd llywodraeth Democratiaid Rhyddfrydol hefyd yn cymryd camau brys i achub ein planed. Ni yw'r genhedlaeth olaf sy'n gallu gwneud rhywbeth i atal newid yn yr hinsawdd na ellir ei wrthdroi. Rydym eisoes wedi gweld bod llifogydd yn digwydd yn fwyfwy rheolaidd yn ein gwlad. Ac er y dylwn fod yn falch o fod wedi datgan argyfwng hinsawdd, ni allwn anwybyddu'r ffaith nad yw Llywodraeth y Deyrnas Unedig (DU) wedi gwneud llawer ers hynny. Yn y cyfamser, pobl ifanc sydd wedi

rhoi'r argyfwng hinsawdd yn ôl ar yr agenda yn gyson trwy eu streiciau hinsawdd ysbrydoledig.

Mae'r newid yn yr hinsawdd yn ein dychryn, yn naturiol, ond dylai brwdfrydedd, ymroddiad ac eglurder moesol y bobl ifanc hyn ein calonogi. Byddai'n dda i ni gofio hefyd fod llawer o fuddion eraill yn gysylltiedig ag ymladd yn erbyn y newid yn yr hinsawdd, o drawsnewid economi Cymru i ddarparu aer glân a sicrwydd ynni. Gall Cymru wneud cymaint trwy fynd i'r afael â'r newid yn yr hinsawdd yn effeithiol.

Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sydd â chynllun radicalaidd, credadwy a manwl i fynd i'r afael â'r argyfwng hinsawdd cyn gynted â phosibl. Byddwn yn cyflawni rhaglen argyfwng deng mlynedd i leihau allyriadau, cynhyrchu 80% o'n trydan o ynni adnewyddadwy erbyn 2030 a chyflawni allyriadau nwyon tŷ gwydr net o sero erbyn 2045 fan bellaf.

Byddwn yn buddsoddi mewn gwasanaethau cyhoeddus ledled y DU, gan sicrhau bod Cymru yn cael ei chyfran deg o'r buddsoddiad hwn. Byddwn hefyd yn cyflwyno gofal plant am ddim i bawb, yn sicrhau ein bod yn rhoi'r un pwyslais ar drin iechyd meddwl ag iechyd corfforol, ac yn rhoi'r dechrau gorau posibl mewn bywyd i bob plentyn yng Nghymru.

Ar 12 Rhagfyr, bydd gennych gyfle hanesyddol i atal Brexit a chreu dyfodol mwy disglair i Gymru. Os dyna yw'ch dymuniad, pleidleisiwch dros y Democratiaid Rhyddfrydol i wireddu'r cyfle hwn.

**Jane Dodds,**
**Arweinydd Democratiaid Rhyddfrydol Cymru**



# Atal Brexit

Mae pob pleidlais dros Ddemocratiaid Rhyddfrydol Cymru yn bleidlais dros atal Brexit ac aros yn yr Undeb Ewropeaidd.

Ers dros dair blynedd, mae Democratiaid Rhyddfrydol Cymru wedi arwain y frwydr i atal Brexit. Fe ymgyrchon ni dros aros yn yr UE yn 2016, ac rydym yn credu'n bendant bod Cymru a'r DU yn gryfach yn rhan o'r UE.

Bydd ethol llywodraeth Democratiaid Rhyddfrydol fwyafrifol â bwriad clir i atal Brexit yn darparu mandad democrataidd i roi terfyn ar y llanastr hwn, dirymu Erthygl 50 ac aros yn yr UE. Mewn amgylchiadau eraill, byddwn yn parhau i ymladd dros bleidlais i'r bobl sy'n cynnig opsiwn i aros yn yr UE, a byddem yn ymgyrchu'n frwd dros gadw'r DU yn yr UE yn y bleidlais honno.

Yr unig ffordd o roi terfyn ar broses Brexit yw trwy ethol llywodraeth Democratiaid Rhyddfrydol. Er bod y Ceidwadwyr yn honni y bydd pleidleisio drostyn nhw yn 'cyflawni Brexit', nid yw hynny'n wir. Y cyfan y bydd yn ei wneud yw cychwyn blynyddoedd yn fwy o drafodaethau anodd ynglŷn â chytundeb masnach y DU â'r UE, gyda thebygolrwydd uchel iawn y bydd Prydain yn gadael heb gytundeb ac yn ceisio goroesi ar sail 'telerau Sefydliad Masnach y Byd (WTO)', sy'n gytundeb mor wael fel nad oes bron unrhyw wlad arall yn y byd yn masnachu ar y sail honno. Mae'r Blaid Lafur eisiau ailagor y Cytundeb Ymadael eto a negodi cytundeb newydd – ond nid ydynt yn fodlon dweud a ydynt eisiau i Brydain aros yn yr UE ynteu gadael. Y gwir yw bod Brexit yn niweidiol i'r DU, p'un ai o dan y Blaid Lafur neu'r Torïaid.

Mae pwysigrwydd aelodaeth y DU â'r UE yn amlycach yn awr nag erioed. Wrth iddynt gydweithio trwy'r UE, mae gwledydd Ewrop wedi cyflawni heddwch a ffyniant ar gyfandir sydd wedi dioddef rhyfel a rhaniadau ar hyd hanes. Mae hynny'n gyflawniad aruthrol; ni ddylid ei gymryd yn ganiataol, yn enwedig gan fod Ewrop yn wynebu peryglon newydd o du Rwsia gynyddol ymosodol ac wrth i'r Unol Daleithiau (UD) gefnu ar ei hen gynghreiriau.

Mae llawer o heriau mawr yr 21ain ganrif yn rhai byd-eang: y newid yn yr hinsawdd, masnachu pobl, y fasnach arfau, pŵer cwmnïau rhyngwladol, tlodi byd-eang ac anghydraddoldeb. Trwy wahanu ei hun oddi wrth yr UE, mae Prydain



yn lleihau ei gallu i ymateb i'r bygythiadau hyn. Trwy gydweithio â'n cymdogion Ewropeaidd, rydym yn cynyddu gallu'r DU i wynebu'r heriau hynny: er enghraifft, trwy drafodaethau rhyngwladol, trwy reoleiddio'r cwmnïau technolegol mawr neu drwy greu marchnadoedd ar gyfer cynhyrchion sy'n gyfeillgar i'r hinsawdd.

Does dim dwywaith bod aelodaeth lawn â'r UE yn dda i economi Prydain. Byddai Brexit yn rhoi terfyn ar fynediad dilyffethair busnesau at y farchnad sengl Ewropeaidd – lle yr anfonir bron hanner allforion Prydain – a llif didrafferth nwyddau sy'n ofynnol gan gadwyni cyflenwi diwydiannol cymhleth. Mae'r tebygolrwydd o dariffau a gwiriadau ffiniau eisoes yn achosi i weithgynhyrchwyr symud eu gweithrediadau i wladwriaethau eraill yr UE, ac mae gweithgynhyrchwyr yn y DU eisoes yn dweud bod archebion allforio wedi dod i ben.

Does dim gobaith disodli marchnadoedd a gollir yn yr UE â chytundebau masnach rydd â gwledydd eraill filoedd o filltiroedd i ffwrdd. Os bydd y DU yn ildio i geisiadau'r Arlywydd Trump i leihau safonau amgylcheddol ac iechyd ar gyfer cytundeb masnach â'r UD, byddem yn colli'r gallu i allforio i'r UE, a fyddai'n gwthio llawer o fusnesau Prydeinig, gan gynnwys y rhan fwyaf o ffermwyr, i'r wal. Mae Brexit yn niweidiol i swyddi, twf a ffyniant.

Byddai Brexit yn gwneud Cymru yn dlotach, yn llai rhydd ac yn llai dylanwadol ar y llwyfan byd-eang. Mae'n bygwth dyfodol ffermio yng Nghymru, gan orfodi tariffau llesteiriol ar ffermwyr cig oen a chig eidion Cymru. Mae'n bygwth gweithgynhyrchwyr yng Nghymru fel Airbus sy'n dibynnu ar gadwyni cyflenwi Ewropeaidd 'mewn union bryd'. Mae'n bygwth anhrefn mewn porthladdoedd fel Caergybi wrth i ddatganiadau tollau achosi oedi a thagfeydd na ellir paratoi'n ddigonol ar eu cyfer.

Mae tlodi eisoes yn rhy gyffredin o lawer ledled Cymru, ond byddai Brexit yn ei waethygu'n sylweddol. Byddai'n amddifadu Cymru o'r cyllid Ewropeaidd sydd mor hanfodol i fynd i'r afael â thlodi; cyllid sydd wedi gwneud cymaint i greu ffyniant a chyfleoedd yn y rhannau o Gymru sydd wedi cael eu hesgeuluso gan Lywodraeth y DU am gyfnod rhy hir.

Bydd Brexit hefyd yn rhoi terfyn ar symudiad rhydd, sydd wedi dod â buddion cymdeithasol, economaidd a diwylliannol mawr i'r DU. Mae'n rhoi cyfle i bobl Brydeinig weithio, bod gyda'u hanwyliaid, astudio ac ymddeol yn unrhyw le yn yr

UE. Nid oes gwrthdaro rhwng ein hunaniaeth Ewropeaidd a'n hunaniaethau Prydeinig a Chymreig: maen nhw'n cyfoethogi ei gilydd. Trwy atal Brexit, bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn gwarchod a chynnal symudiad rhydd, gan ddiogelu hawliau dinasyddion y DU sy'n byw mewn rhannau eraill o'r UE, a hawliau dinasyddion yr UE yn y DU. Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol hefyd yn cefnogi hawl pobl Gibraltar i aros yn yr Undeb Ewropeaidd.

Mae dinasyddion yr UE yn aelodau gwerthfawr o'n cymunedau a chredwn y dylent gael yr hawl i gymryd rhan yn llawn mewn bywyd dinesig, gan gynnwys yr hawl i ymgeisio am etholiad a phleidleisio mewn refferenda, etholiadau Ewropeaidd ac etholiadau cyffredinol y DU, yn ogystal ag etholiadau lleol. Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn ymestyn yr hawliau hyn i holl ddinasyddion yr UE sydd wedi byw yn y DU am bum mlynedd neu fwy.

Er mwyn sicrhau nad yw dinasyddion yr UE yn cael eu hatal rhag pleidleisio mewn unrhyw etholiad neu refferendwm, byddwn hefyd yn diwygio'r gyfraith etholiadol ar frys, yn unol ag argymhellion y Comisiwn Etholiadol yn 2014, gan gynnwys cyflwyno gofyniad cyfreithiol i gynghorau roi gwybod i ddinasyddion am y camau y mae'n rhaid iddynt eu cymryd i gael eu cofrestru'n llwyddiannus, a gwneud y newidiadau angenrheidiol i sicrhau bod gan y DU system awtomatig o gynnwys mewn etholiadau.

Mae cywilydd cenedlaethol Brexit yn rhoi gormod yn y fantol – y GIG, gwasanaethau cyhoeddus, swyddi ar hyd a lled y wlad, cydweithredu gwyddonol, heddwch yng Ngogledd Iwerddon, undod y DU, ein gallu i fynd i'r afael ag argyfyngau byd-eang fel y newid yn yr hinsawdd a'n henw da byd-eang fel gwlad hyderus ac allblyg. Trwy gadw'r DU yn yr UE, gallwn fynd ati i ymdrin â'r gwir faterion sy'n wynebu ein gwlad, gan ddefnyddio'r Bonws Aros £50 biliwn i fuddsoddi mewn gwasanaethau cyhoeddus a mynd i'r afael ag anghydraddoldeb.

Bydd llywodraeth Democratiaid Rhyddfrydol yn atal Brexit – ac yn creu dyfodol mwy disglair i Gymru a'r DU trwy ein cadw wrth wraidd yr Undeb Ewropeaidd.



# Ein cynllun ar gyfer Economi Gryfach

Dylai pobl sy'n gweithio'n galed ac yn cyfrannu at gymdeithas gael swyddi da sy'n rhoi boddhad ac yn talu'n dda. Dylai busnesau ac entrepreneuriaid sy'n arloesi, buddsoddi ac ymddwyn yn gyfrifol tuag at eu cyflogeion a'r amgylchedd gael eu cefnogi. Nid dyna'r sefyllfa yng Nghymru a'r DU heddiw. Mae gormod o bobl yn cael eu hatal rhag camu ymlaen a byw bywydau diogel, hapus a boddhaus. Mae methiant llywodraethau i fuddsoddi mewn seilwaith a sgiliau wedi tanseilio cynhyrchedd, ac mae'r Ceidwadwyr bellach yn bygwth gwneud y mwyafrif helaeth o bobl yn dlotach a chosbi busnes a menter trwy Brexit caled.

Yn y cyfamser, rydym yn wynebu newidiadau economaidd mawr sy'n golygu bod angen partneriaethau newydd rhwng llywodraeth a busnes: mae dyfodiad deallusrwydd artiffisial yn mynnu dulliau newydd o weithio, ac mae'n rhaid i'r broses heriol o bontio i economi ddi-garbon gael ei rheoli mewn ffordd nad yw'n niweidio'r rhai lleiaf cefnog ac sy'n ein gwneud yn fwy cystadleuol. Mae ein cryfderau ym meysydd gwyddoniaeth, gwasanaethau ariannol, diwydiannau creadigol a gweithgynhyrchu uwch-dechnoleg yn golygu y dylem fod mewn sefyllfa dda i greu economi sy'n trin busnes fel rhan o'r ateb ac sy'n cynnig cyfleoedd i bawb.

Fodd bynnag, nid yw'r Blaid Lafur na'r Ceidwadwyr yn gallu arwain yr economi trwy'r heriau hyn. Mae'r ddwy blaid yn edrych at y gorffennol am atebion nad ydynt yn berthnasol mwyach. Mae'r Ceidwadwyr yn hyrwyddo Brexit dadreoleiddiedig, treth isel, a fydd yn rhoi ein heconomi dan anfantais am genedlaethau; mae Llafur yn hwyluso Brexit ar yr un pryd â cheisio ailwladoli eu ffordd yn ôl i ryw fath o sosialaeth o'r 1970au.

Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r dewis naturiol i fusnes bellach: ni yw'r unig blaid sydd â chynllun newydd ar gyfer dyfodol economaidd mwy disglair. Cynllun i fuddsoddi mewn seilwaith a thechnoleg sy'n gyfeillgar i'r hinsawdd a chreu busnesau a swyddi gwyrdd newydd; cynllun i ychwanegu at ein cryfderau gwyddonol, technolegol a chreadigol; cynllun i atal Brexit a chreu economi fwy ffyniannus, gyfartal a chynhwysol. Ni waeth ble yn y wlad y mae pobl yn byw neu ba gam bynnag o'u gyrfa y maen nhw wedi'i gyrraedd, bydd ein cynllun yn golygu mwy o gyfleoedd a swyddi da sy'n talu'n dda.



**Dyma fydd ein blaenoriaethau yn y senedd nesaf:**

- **Buddsoddi £130 biliwn mewn seilwaith ledled y DU – uwchraddio ein systemau trafnidiaeth ac ynni, grymuso holl wledydd y DU a datblygu seilwaith y dyfodol sy’n gyfeillgar i’r hinsawdd.**
- **Galluogi gweithlu sy’n barod i newid ac sy’n canolbwyntio ar y dyfodol – grymuso unigolion trwy ddarparu ‘hawl i ddysgu gydol oes’.**
- **Cyflwyno cyllideb llesiant a seilio penderfyniadau ynglŷn â gwariant Llywodraeth y DU ar yr hyn fydd yn gwella llesiant yn ogystal â dangosyddion economaidd a chyllidol.**

## Buddsoddi ar gyfer y Dyfodol ledled y DU

Nid yw cyfleoedd a mynediad at addysg, cyflogaeth a gwasanaethau wedi’u gwasgaru’n deg o amgylch y DU. Mae hyn yn golygu bod llawer o bobl yn cael eu dal mewn gwaith ansefydlog lle nad oes ganddynt obaith o ddyrchafiad. Mae’r Ceidwadwyr yn esgus cefnogi’r syniad o dwf rhanbarthol er eu bod yn hyrwyddo Brexit difeddwl a fydd yn dyfnhau anghydraddoldeb ac yn gosod rhwystrau ar fasnachu rhwng Gogledd Iwerddon a gweddill y DU. Mae dull Llafur sy’n edrych tua’r gorffennol, sydd am weld diwydiannau wedi’u hailwladoli yn cael eu rheoli o Whitehall, yn gwrthod ymreolaeth i bobl a chymunedau a bydd yn ergyd i fuddsoddiad ac yn atal arloesedd. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw’r unig blaid sy’n edrych at y dyfodol gydag ateb cynaliadwy i’r rhaniad rhanbarthol. Byddwn yn:

- Cyflwyno Rhaglen Ailgydbwyso Rhanbarthol gyfalafol gwerth £50 biliwn ar gyfer gwariant seilwaith ledled y DU, y bydd Llywodraeth Cymru yn cyfrannu’n llawn at benderfynu sut y caiff ei defnyddio. Rhaglen a atgyfnerthir gan gyllid Trawsnewid Teg (Just Transition) ar gyfer ardaloedd y mae’r symudiad i allyriadau nwyon tŷ gwydr sero net yn cael cryn effaith arnynt.
- Llunio Strategaeth Ddiwydiannol Genedlaethol uchelgeisiol i drawsnewid yr economi a datblygu Strategaethau Diwydiannol Lleol yn rhan ohoni sy’n cymell busnesau a phrifysgolion a chanddynt arbenigeddau penodol i greu clystyrau.
- Gweithio gyda’r prif fanciau i ariannu’r broses o greu sector bancio lleol sy’n ymroddedig i fodloni anghenion busnesau bach a chanolig lleol.
- Ehangu’r Banc Busnes Prydeinig i gyflawni rôl fwy ganolog yn yr economi er mwyn sicrhau bod cyfalaf ar gael i fusnesau bach a chanolig hyfyw, hyd yn oed os na all gweddill y system bancio masnachol ei ddarparu.

Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol eisiau manteisio ar y cyfraddau llog isel i gynyddu benthyca ar gyfer buddsoddi er mwyn creu economi'r dyfodol. Rydym wedi ymrwymo i becyn cyfrifol a realistig o £130 biliwn ar gyfer buddsoddiad seilwaith ychwanegol, a fydd yn blaenoriaethu:

- Buddsoddiad sylweddol mewn trafnidiaeth gyhoeddus, gan gynnwys trosi'r rhwydwaith rheilffyrdd i dechnoleg allyriadau isel iawn (trydan neu hydrogen) erbyn 2035, ac ymrwymiad parhaus i HS2 a phrif lwybrau rheilffyrdd strategol newydd eraill.
- Rhaglen o osod band eang ffeibr optig cyflym iawn ledled y DU – gyda phwyslais penodol ar gysylltu ardaloedd gwledig.
- Rhaglen deng mlynedd frys i leihau faint o ynni a ddefnyddir gan holl adeiladau'r DU, gan leihau allyriadau a biliau tanwydd a rhoi terfyn ar dlodi tanwydd.
- £5 biliwn o gyfalaf cychwynnol ar gyfer Banc Buddsoddiad Gwyrdd newydd, gan ddefnyddio arian cyhoeddus i ddenu buddsoddiad preifat ar gyfer blaenoriaethau di-garbon.

Byddwn yn sicrhau bod y Comisiwn Seilwaith Cenedlaethol yn rhoi ystyriaeth lawn i oblygiadau pob penderfyniad seilwaith cenedlaethol o ran yr hinsawdd a'r amgylchedd.

## Y Deyrnas Unedig 2050: Ein Gweledigaeth ar gyfer Economi a Arweinir gan Arloesedd

Rydym eisiau gosod y sylfeini er mwyn i'r DU fod y lle gorau yn y byd ar gyfer busnesau a arweinir gan arloesedd yn y tymor hir – lle sy'n denu pobl o bob rhan o'r UE a'r byd i wireddu eu syniadau. Ond gan fod buddsoddi mewn ymchwil a datblygu ac arloesedd yn llusgo y tu ôl i wledydd eraill ac yn canolbwyntio gormod ar y de-ddwyrain, mae angen newid mawr i wireddu'r weledigaeth hon. Dim ond y Democratiaid Rhyddfrydol sy'n gallu cyflawni hyn: mae'r Ceidwadwyr yn dychwelyd i orffennol ymerodrol rhamantus, er eu bod yn hyrwyddo Brexit a fydd yn niweidio ymchwil ac arloesedd, sy'n dibynnu cymaint ar gydweithredu ag Ewrop a gwledydd eraill y byd; nid oes gan Lafur unrhyw gynllun ar gyfer economi'r dyfodol.

Mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol gynllun gweddnewidiol i wneud y DU yn arweinydd byd o ran arloesedd cyfrifol, a hynny trwy fanteisio ar gryfderau'r DU a'r hyn rydym ni'n ei wneud yn dda fel cenedl: ein manteision naturiol o ran ynni



adnewyddadwy; ein sector prifysgolion cryf; a'n cryfderau rhanbarthol. Byddwn yn creu economi sy'n tyfu lle y bydd gan bobl swyddi ystyrlon sy'n talu'n dda. Byddwn yn:

- Cynyddu gwariant cenedlaethol ar ymchwil a datblygu i 3% o'r cynnyrch domestig gros (GDP). Byddwn yn cyhoeddi map i gyflawni'r uchelgais hwn erbyn y dyddiad cynharaf bosibl, trwy darged dros dro o 2.4% o'r GDP erbyn 2027 fan bellaf.
- Cefnogi arloesedd, gyda'r nod o ddyblu gwariant ar arloesedd ar draws yr economi.
- Cynyddu'r Gronfa Cryfder mewn Lleoedd (Strength in Places) i hybu ymchwil a datblygu y tu allan i 'driongl euraid' Rhydychen-Caergrawnt-Llundain.
- Ychwanegu at y strategaeth ddiwydiannol a ddatblygwyd gan weinidogion Democratiaid Rhyddfrydol yn y llywodraeth, gan weithio gyda sectorau sy'n hollbwysig i allu'r DU i fasnachu'n rhyngwladol, creu mwy o ganolfannau arloesedd a thechnoleg 'Catapwlt' a chefnogi buddsoddiad preifat, yn enwedig mewn arloesedd di-garbon ac amgylcheddol.
- Datblygu'r gweithlu medrus y mae ei angen i gefnogi'r twf hwn trwy gyflwyno fisa dwy flynedd newydd i fyfyrwyr er mwyn iddynt weithio ar ôl graddio.
- Parhau i gefnogi buddsoddiad mewn cwmnïau cychwynnol digidol newydd yn y DU trwy ddiwygio cefnogaeth y Banc Busnes Prydeinig i gronfeydd cyfalaf menter i'w alluogi i helpu i ariannu cefnogwyr newydd 'sbarduno mewnol' ('crowd in') yn hytrach na gweithredu fel cyllidwr dewis olaf.

## Manteisio ar Fuddion Technoleg Newydd

Rydym eisiau i'r DU arwain y byd ym maes technoleg newydd foesegol, gynhwysol, gan gynnwys deallusrwydd artiffisial. Byddwn yn buddsoddi mewn addysg i sicrhau bod gan bobl y sgiliau y mae arnynt eu hangen – p'un ai i ddefnyddio technoleg newydd neu ei chreu – ar yr un pryd â denu a chroesawu'r bobl fwyaf dawnus o bob rhan o'r byd. Byddwn yn galluogi arloeswyr ac entrepreneuriaid i arbrofi a mentro, ar yr un pryd â herio cwmnïau mawr sy'n atal cystadleuaeth, cyfyngu ar ddewis i ddefnyddwyr a rhwystro cynnydd. A byddwn yn sicrhau bod technoleg newydd yn cael ei datblygu a'i darparu'n foesegol, fel ei bod yn parchu hawliau sylfaenol pobl, gan gynnwys yr hawl i breifatrwydd a dim gwahaniaethu. Byddwn yn:

- Cefnogi sector technoleg amrywiol a chynhwysol y DU trwy ddiwygio rheolau mewnfudo – gan gynnwys galluogi cyrff diwydiannol i noddi fisâu gwaith.
- Cefnogi twf swyddi a busnesau newydd yn y sector technoleg trwy ganiatáu i gwmnïau hawlio Credydau Treth Ymchwil a Datblygu yn erbyn cost prynu setiau data a chyfrifiadura cwmwl, symleiddio'r cyd-destun rheoleiddiol a chyflymu newid rheoleiddiol.
- Sicrhau bod technolegau newydd yn cael eu defnyddio mewn ffyrdd moesegol a chyfrifol trwy:
  – Gyflwyno Cod Moeseg Lovelace i sicrhau bod y defnydd o ddata personol a deallusrwydd artiffisial yn ddiduedd, yn dryloyw, yn gywir, ac yn parchu preifatrwydd.
  – Grymuso'r Ganolfan Moeseg Data ac Arloesedd i 'alw i mewn' cynhyrchion y mae'n ymddangos eu bod yn torri'r Cod hwn.
  – Cyflwyno nod barcut ar gyfer cwmnïau sy'n cyflawni'r safonau moesegol uchaf wrth ddatblygu a defnyddio deallusrwydd artiffisial a thechnolegau newydd eraill.
  – Trefnu cynulliad dinasyddion i benderfynu pryd y mae'n briodol i'r Llywodraeth ddefnyddio algorithmau wrth wneud penderfyniadau.
- Grymuso defnyddwyr a sicrhau bod pawb yn gallu mwynhau buddion technoleg newydd, trwy fynnu bod pob cynnyrch yn darparu fersiwn fer a chlir o'i delerau ac amodau, gan nodi'r ffeithiau allweddol fel y bônt yn berthnasol i ddata a phreifatrwydd unigolion.

## Bargen Well i Entrepreneuriaid a Busnesau Bach

Mae busnesau dynamig, entrepreneuraidd yn rym cadarnhaol: pobl hunangyflogedig a busnesau bach yw asgwrn cefn economïau lleol a dylai'r llywodraeth eu cefnogi. Fodd bynnag, mae'r Ceidwadwyr yn hyrwyddo polisïau sy'n ei gwneud hi'n fwy anodd i ddechrau busnesau newydd llwyddiannus, ac nid yw Llafur yn deall nac yn gwerthfawrogi busnesau cychwynnol a busnesau bach. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n deall pwysigrwydd y busnesau hyn ac a fydd yn sicrhau eu bod yn gallu cael gafael ar y cyllid a'r cyfalaf tymor hir y mae arnynt eu hangen. Byddwn yn:

- Creu 'lwfans cychwyn' newydd i helpu'r rhai sy'n dechrau busnes newydd â'u costau byw yn ystod wythnosau cyntaf hollbwysig eu busnes.
- Cefnogi busnesau sy'n tyfu'n gyflym sydd eisiau ehangu, trwy ddarparu cymorth



mentora.

- Blaenoriaethu busnesau bach a chanolig wrth gyflwyno band eang cyflym iawn.
- Mynnu bod holl asiantaethau a chontractwyr y llywodraeth, a chwmnïau sydd â mwy na 250 o gyflogeion, yn llofnodi'r cod talu prydlon, gan olygu y gellir ei orfodi.
- Sefydlu cyfrifon banc ar wahân ar gyfer prosiectau mawr y llywodraeth, i sicrhau na all y cwmni ar frig cadwyn gyflenwi gamfanteisio ar ei safle i ategu ei lif arian ei hun ar draul cyflenwyr llai.
- Ymestyn gweithgareddau'r Banc Busnes Prydeinig, gan ei alluogi i gyflawni rôl fwy canolog yn yr economi trwy fynd i'r afael â'r prinder cyfalaf ecwiti ar gyfer cwmnïau sy'n tyfu a darparu cyfalaf tymor hir ar gyfer busnesau maint canolig.
- Darparu fframwaith cefnogol i ddatblygu mentrau cymdeithasol – busnesau â phwyslais cymdeithasol yn hytrach na rhai sy'n cael eu cymell gan elw.
- Ymestyn yr hawliau a'r buddion sydd ar gael i'r rhai mewn cyflogaeth ansefydlog, fel cynnig tâl ac absenoldeb rhiant i bobl hunangyflogedig.
- Gweithio gyda phob lefel o'r llywodraeth i ddiwygio'r system ardrethi busnes, gan flaenoriaethu diwygiadau sy'n cydnabod datblygiad yr economi ddigidol, lleihau'r baich ar fusnesau llai, a sicrhau bod y stryd fawr yn aros yn gystadleuol. Byddwn hefyd yn ystyried gweithredu Ardoll Tir Masnachol.

## Busnes Gwell

Gall busnes fod yn rym cadarnhaol yn ein heconomi: mae arnom angen busnesau ffyniannus i greu cyfoeth ac mae model o gyfalafiaeth gyfrifol yn cynhyrchu swyddi da, yn rhannu ffyniant ac yn gweld busnesau'n hyrwyddo hawliau ac amddiffyn yr amgylchedd. Ond nid yw'r system yn gweithio fel y dylai: mae cyflogwyr diegwyddor yn parhau i allu camfanteisio ar eu gweithlu a hyd yn oed pan fydd busnesau'n methu, mae'r rhai ar y brig yn aml yn cael gwobrau enfawr tra bod staff yn colli eu swyddi. Ac nid oes eto gennym fframwaith sy'n gwobrwyo busnesau'n ddigonol am ymddygiad amgylcheddol gynaliadwy – nac yn eu cosbi am weithgareddau sy'n niweidiol i'r amgylchedd. Nid yw Llafur yn cydnabod y daioni y gall busnes ei greu; nid yw'r Ceidwadwyr yn poeni am ganlyniadau busnesau sy'n cael eu cynnal yn anghyfrifol. Dim ond y Democratiaid Rhyddfrydol fydd yn hyrwyddo cyfalafiaeth gyfrifol sy'n gweithio ar gyfer y dyfodol. Ein cynllun yw economi sy'n gweithio i bawb, sy'n meithrin amrywiaeth o wahanol fathau o fusnesau – cwmnïau cydfuddiannol, mentrau cymdeithasol a chwmnïau buddiannau cymunedol – ac sy'n grymuso cyflogeion. Byddwn yn:

- Annog cyflogwyr i hyrwyddo perchenogaeth gan gyflogeion trwy roi'r hawl i staff mewn cwmnïau rhestredig â mwy na 250 o gyflogeion ofyn am gyfranddaliadau, a gedwir mewn ymddiriedolaeth er budd cyflogeion.
- Cryfhau cyfranogiad gweithwyr wrth wneud penderfyniadau, gan gynnwys cynrychiolaeth staff ar bwyllgorau cydnabyddiaeth ariannol, a mynnu bod pob cwmni rhestredig yn y DU a phob cwmni preifat sydd â mwy na 250 o gyflogeion yn trefnu bod o leiaf un cynrychiolydd cyflogeion ar eu byrddau sydd â'r un dyletswyddau a chyfrifoldebau cyfreithiol â chyfarwyddwyr eraill.
- Cyflwyno dyletswydd gofal gyffredinol ar gyfer yr amgylchedd a hawliau dynol, sy'n mynnu bod cwmnïau, sefydliadau ariannol ac asiantaethau sector cyhoeddus yn arfer diwydrwydd dyladwy trwy osgoi gweithgareddau penodol fel llafur plant neu gaethwasiaeth fodern, neu gynhyrchion penodol fel nwyddau a gynhyrchwyd trwy ddatgoedwigo, yn eu gweithrediadau a'u cadwyni cyflenwi, ac yn adrodd ar eu gweithredoedd.
- Diwygio'r ddyletswydd ymddiriedol a rheolau diben cwmni i sicrhau bod gan bob cwmni mawr ddatganiad ffurfiol o ddiben corfforaethol, sy'n cynnwys ystyriaethau fel lles cyflogeion, safonau amgylcheddol, budd cymunedol ac arferion moesegol, ochr yn ochr â budd i randdeiliaid, a'i fod yn adrodd yn ffurfiol ar effaith ehangach y busnes ar gymdeithas, yr amgylchedd ac ystyriaethau eraill.
- O dan gyfraith y DU, creu opsiwn ar gyfer math newydd o gorfforiad a chanddo ddiben deuol penodol o wneud elw a chael effaith gadarnhaol ar gymdeithas, gweithwyr, cymunedau a'r amgylchedd.
- Mynnu pleidleisiau cyfrwymol a chyhoeddus gan aelodau bwrdd ar bolisïau tâl swyddogion gweithredol.
- Ymestyn cwmpas y prawf 'budd cyhoeddus' presennol wrth ystyried cymeradwyo ceisiadau i feddiannu cwmnïau mawr neu strategol arwyddocaol gan berchenogion sydd wedi'u lleoli dramor er mwyn cydnabod y buddion i economi, gweithwyr a defnyddwyr y DU a ddaw yn sgil amddiffyn cwmnïau'r DU rhag buddiannau hapfasnachol neu dymor byr.10

## Trethi Teg

Mae'n rhaid i'r llywodraeth sicrhau bod y system dreth yn bodloni anghenion economi fodern a'i bod yn barod am y newid i economi ddigidol a di-garbon. Dylai busnesau ac unigolion sy'n elwa o fod wedi'u lleoli yn y DU dalu eu cyfran deg o dreth – ac mae busnesau cyfrifol yn fodlon gwneud hyn. Maen nhw'n elwa o



nwyddau cyhoeddus fel gweithlu addysgedig, economi sefydlog a seilwaith a ariennir yn gyhoeddus, ac mae'n briodol iddynt gyfrannu tuag atynt. Ond mae'r system drethiant yn anghytbwys ac annheg: mae'n rhy rhwydd i gwmnïau technoleg mawr a monopolïau mawr osgoi treth, ac mae incwm o gyflogaeth yn cael ei drethu'n llymach nag incwm a gynhyrchir trwy gyfoeth.

Mae Llafur a'r Ceidwadwyr yn edrych tuag at y gorffennol am atebion na fyddant yn gweithio heddiw: mae Llafur eisiau cynyddu'r dreth incwm mewn ffordd na fydd hyd yn oed yn sicrhau bod mwy o dreth yn cael ei thalu; nid oes gan y Ceidwadwyr ddiddordeb mewn gwneud y system drethiant yn decach. Bydd ein cynllun ar gyfer y dyfodol yn sicrhau bod busnesau mawr yn talu eu cyfran deg, yn cefnogi cwmnïau bach a chanolig ac yn sicrhau nad yw incwm a enillir o gyfoeth yn freintiedig o'i gymharu ag incwm o gyflogaeth – gan sicrhau bod y system dreth yn deg i bawb. Byddwn yn:

- Adfer y Dreth Gorfforaeth i 20% - gan wrthdroi gweithred y Ceidwadwyr a'i gostyngodd i 17% - a sicrhau bod y gyfradd yn sefydlog gyda llwybr y gellir ei ragweld yn y dyfodol.
- Cydraddoli sut mae incwm o gyfoeth ac incwm o waith yn cael ei drethu trwy:
  - Ddiddymu'r lwfans di-dreth ar wahân ar gyfer enillion cyfalaf ac, yn lle hynny, eu trethu trwy un lwfans ar gyfer yr incwm a'r enillion cyfalaf.
  - Cysoni cyfraddau treth enillion cyfalaf a threth incwm ar yr un pryd â chyflwyno lwfans chwyddiant neu "gyfradd enillion" sylfaenol.
- Symleiddio trethiant busnes er mwyn gostwng costau gweinyddu a lleihau cyfleoedd i osgoi treth – gan gefnogi cwmnïau llai.
- Gweithredu'n llym yn erbyn efadu ac osgoi treth gorfforaeth, gan gynnwys trwy:
  - Gyflwyno Rheol Gyffredinol ar Atal Osgoi, gan osod targed i Gyllid a Thollau EM leihau'r bwlch treth a pharhau i fuddsoddi mewn staff i'w alluogi i gyflawni hynny.
  - Diwygio'r rheolau ynghylch lleoliad sefydlu i atal cwmnïau rhyngwladol rhag symud elw allan o'r DU yn annheg.
- Rhoi terfyn ar newidiadau treth ôl-weithredol fel y tâl benthyciadau a gyflwynwyd gan y Ceidwadwyr, fel bod unigolion a chwmnïau'n cael eu trin yn deg, ac adolygu cynigion diweddar i newid y rheolau IR35.
- Diddymu'r Lwfans Treth Priodas.

## Dyfodol Gwaith

Dylai pobl gael swyddi diogel, gyda hawliau priodol a chyflog teg. Fodd bynnag, mae newidiadau o ran technoleg a natur cyflogaeth wedi tyfu ynghynt na'r system bresennol o hawliau ac amddiffyniadau cyflogaeth. Nid yw'r Ceidwadwyr wedi gwneud digon i gefnogi gweithwyr wrth iddynt gael eu sugno i mewn i swyddi ansefydlog sy'n talu'n wael; byddai ymagwedd ddogmatig Llafur sy'n edrych tuag at y gorffennol yn dinistrio swyddi hyblyg sy'n werthfawr i bobl ac yn niweidio'r economi. Y Democratiaid Rhyddfrydol yn unig sydd â chynllun ar gyfer gwaith yr 21ain ganrif: cynllun a fydd yn amddiffyn cyflogeion ac yn rhoi llais iddynt yn y gwaith, ar yr un pryd â galluogi modelau busnes arloesol i ffynnu yn yr economi fodern. Byddwn yn gwneud i waith dalu ac yn sicrhau bod swyddi da sy'n talu'n dda ar gael i bobl eu gwneud. Byddwn yn:

- Sefydlu adolygiad annibynnol i ymgynghori ar sut i osod Cyflog Byw go iawn ym mhob sector. Byddwn yn talu'r Cyflog Byw hwn ym mhob un o adrannau llywodraeth y DU a'u hasiantaethau, ac yn annog cyflogwyr eraill y sector cyhoeddus i wneud yr un peth.
- Sefydlu Awdurdod Gorfodi Amddiffyn Gweithwyr, sef corff pwerus newydd i amddiffyn y rhai sydd mewn swyddi ansicr.
- Newid y gyfraith fel bod gweithio hyblyg ar gael i bawb o'r cychwyn cyntaf yn eu swyddi, gyda gofyniad i gyflogwyr hysbysebu swyddi yn unol â hynny, oni bai bod rhesymau busnes arwyddocaol pam na ellir gwneud hynny.
- Moderneiddio hawliau cyflogaeth i'w gwneud yn addas i oes yr 'economi gìg', gan gynnwys trwy:
  - Sefydlu statws cyflogaeth 'contractwr dibynnol' newydd rhwng cyflogaeth a hunangyflogaeth, sy'n cynnwys hawliau sylfaenol fel lefelau isafswm enillion, tâl salwch a hawl i gael gwyliau.
  - Adolygu statws treth ac yswiriant gwladol cyflogeion, contractwyr dibynnol a gweithwyr llawrydd i sicrhau triniaeth deg a chymharol.
  - Gosod isafswm cyflog uwch o 20% i bobl ar gontractau dim oriau ar adegau o alw arferol i wneud iawn iddynt am yr ansicrwydd sy'n gysylltiedig ag oriau gwaith anwadal.
  - Rhoi'r hawl i weithwyr 'dim oriau' a gweithwyr asiantaeth ofyn am gontract cyflogaeth parhaol ar ôl 12 mis, na ddylid ei wrthod yn afresymol.
  - Adolygu'r rheolau sy'n ymwneud â phensiynau fel nad yw gweithwyr yn yr economi gìg ar eu colled, ac i sicrhau bod cludadwyedd rhwng rolau'n cael ei



warchod.
– Symud y baich profi o'r unigolyn i'r cyflogwr mewn tribiwnlysoedd cyflogaeth sy'n ymwneud â statws cyflogaeth.

- Cryfhau gallu undebau i gynrychioli gweithwyr yn effeithiol yn yr economi fodern, gan gynnwys hawl mynediad i weithleoedd.

## Cyllid Cyfrifol

Dylai llywodraeth dda reoli cyllid y genedl yn gyfrifol: manteisio ar gyfleoedd i fenthyca er mwyn buddsoddi mewn seilwaith allweddol ar yr un pryd â sicrhau nad yw gwariant dydd i ddydd yn fwy na'r swm a godir trwy drethi. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid a fydd yn rheoli cyllid y wlad yn briodol. Mae'r Ceidwadwyr yn hyrwyddo Brexit a fydd yn difetha'r economi am genhedlaeth, gan ei gwneud yn amhosibl buddsoddi mewn gwasanaethau cyhoeddus mewn ffordd gynaliadwy. Bydd Llafur yn gwastraffu biliynau trwy wladoli cyfleustodau - gan wario arian y gellid ei ddefnyddio i'w gwella dim ond er mwyn i'r wladwriaeth allu eu rheoli. Mae ein cynllun ar gyfer y dyfodol wedi'i seilio ar reoli cyllid y wlad yn gyfrifol: atal Brexit a defnyddio'r refeniw uwch a ddaw yn sgil economi fwy i fuddsoddi mewn gwasanaethau, a defnyddio'r arian y byddai Llafur yn ei wastraffu i fynd i'r afael â'r argyfwng hinsawdd a buddsoddi mewn seilwaith trafnidiaeth ac ynni. Byddwn yn:

- Defnyddio'r Bonws Aros i fuddsoddi mewn gwasanaethau cyhoeddus, mynd i'r afael ag anghydraddoldeb ac ymladd yn erbyn tlodi mewn gwaith.
- Sicrhau bod gwasanaethau allweddol yn cael eu hariannu'n briodol a rheoli eu cyllidebau'n gyfrifol fel eu bod yn cynyddu o flwyddyn i flwyddyn.
- Sicrhau bod y ddyled genedlaethol gyffredinol yn parhau i ostwng fel cyfran o incwm cenedlaethol.
- Gwarchod annibyniaeth Banc Lloegr a chadw'r targed chwyddiant o 2%.

## Hybu Lles

Diben sylfaenol llywodraeth yw cynorthwyo pobl i wella eu hansawdd bywyd. Mae economi lwyddiannus yn bwysig, oherwydd ei bod yn cynnal swyddi, incwm a gwasanaethau cyhoeddus a ariennir yn dda – sydd oll yn bwysig i les unigolion. Ond mae'r pwyslais arferol ar GDP fel yr amcan nid yn unig ar gyfer llywodraeth ond cymdeithas yn gyffredinol, yn amlwg yn annigonol. Mae'n rhesymol i bobl yn y

DU ddisgwyl i'r llywodraeth ystyried eu lles a buddsoddi ynddo, a dyna'n union beth fydd llywodraeth Democratiaid Rhyddfrydol yn ei wneud. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn deall bod lles yn gofyn am economi gref a llywodraeth sy'n ystyried nifer o agweddau eraill ar fywyd, gan gynnwys cymorth ar gyfer iechyd meddwl pobl ac amodau gwaith da. Dim ond llywodraeth Democratiaid Rhyddfrydol fydd yn rhoi lles pobl a'r blaned yn gyntaf.

Yng Nghymru, rydym ni eisoes wedi cyflwyno'r Ddeddf Cenedlaethau'r Dyfodol arloesol sy'n gorfodi cyrff cyhoeddus yng Nghymru i ystyried goblygiadau tymor hir eu polisïau. Mae'r Ddeddf hon yn sefydlu'r nod o greu Cymru lewyrchus, gydnerth, fwy cyfartal, iachach, gydlynus, ddiwylliannol fywiog a chyfrifol ar lefel byd-eang.

Nodau aruchel yw'r rhain yn sicr, ond mae angen i lywodraethau a chyrff cyhoeddus gymryd camau pendant i'w gwireddu.

Ni yw'r unig blaid sy'n bwriadu buddsoddi mewn lles a'i osod wrth wraidd y broses o wneud penderfyniadau, ochr yn ochr ag ystyriaethau economaidd. Byddwn yn:

- Cyflwyno cyllideb lles, yn seiliedig ar enghraifft Seland Newydd, a gwneud penderfyniadau ar sail dangosyddion lles yn ogystal â dangosyddion economaidd a chyllidol.
- Penodi Gweinidog Llywodraeth y DU dros Lesiant, a fydd yn gwneud datganiad blynyddol i'r Senedd ar y prif fesurau lles ac effeithiau polisïau'r llywodraeth arnynt.
- Cyflwyno asesiadau o'r effaith ar les ar gyfer holl bolisïau Llywodraeth y DU.
- Blaenoriaethu gwariant y llywodraeth ar y pethau sydd bwysicaf i les pobl, gan gynnwys iechyd meddwl, ysgolion, unigrwydd a thai cymdeithasol; yn awr ac yn y dyfodol.
- Sicrhau bod y blaned yn cael ei gwarchod ar gyfer cenedlaethau'r dyfodol gydag aer glân i'w anadlu, a chymryd camau brys i symud tuag at allyriadau di-garbon net.



# Addysg: Ein Cenhadaeth Genedlaethol

Mae addysg o'r blynyddoedd cynnar ac ymlaen drwy gydol oedolaeth yn hollbwysig i sicrhau bod pawb yn gallu cyflawni eu potensial llawn. Ni ddylai ansawdd yr addysg a gewch ddibynnu ar ble rydych chi'n cael eich geni, ble rydych chi'n mynd i'r ysgol na pha mor gyfoethog yw eich rhieni. Ac eto, mae pobl sy'n cael addysg wael yn llai tebygol o lawer o gael cyfle priodol i wneud y gorau o'u bywydau; gan gyfyngu ar eu dyfodol eu hunain a niweidio ffyniant y wlad.

Sylweddolwn fod pwerau dros ysgolion a cholegau wedi'u datganoli i Lywodraeth Cymru, ac eto mae penderfyniadau a wneir ynghylch addysg yn Lloegr yn effeithio ar benderfyniadau mewn rhannau eraill o'r DU. Mae polisi cyni parhaus Llywodraeth y DU wedi cyfyngu'n ddifrifol ar faint y mae Llywodraeth Cymru ac awdurdodau lleol wedi gallu ei wario ar addysg. Bydd cynigion y Democratiaid Rhyddfrydol i adfer cyllid ysgolion i lefelau 2015 yn Lloegr yn helpu i sicrhau bod gan ysgolion yng Nghymru y cyllid y mae arnynt ei angen i roi'r dechrau gorau posibl mewn bywyd i'n plant.

Diwygio addysg yw ein cenhadaeth genedlaethol. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol bob amser wedi rhoi addysg wrth wraidd ein hagenda. Credwn fod pob plentyn a dinesydd yn haeddu cael yr offer, y cymorth a'r cyfleoedd y mae arnynt eu hangen i gyflawni eu potensial a ffurfio eu dyfodol. Rydym yn benderfynol o sicrhau bod ein system addysg yn canfod a rhyddhau'r gorau mewn pawb.

Gyda Kirsty Williams AC yn Weinidog Addysg yn Llywodraeth Cymru, rydym yn cyflawni ein cenhadaeth genedlaethol i godi safonau, lleihau'r bwlch cyrhaeddiad a darparu system sy'n destun balchder a hyder i'r genedl.

Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn cydnabod bod addysg yn cyflawni rôl ddeuol drwy roi'r wybodaeth a'r sgiliau y mae eu hangen ar bobl ifanc i fod yn rhan o economi gynhyrchiol, gystadleuol, a'u helpu i dyfu'n ddinasyddion hapus, iach ac ymgysylltiedig.

**Dyna pam y byddwn yn parhau i flaenoriaethu'r canlynol yng Nghymru:**

- **Rhoi £560m ychwanegol i addysg yng Nghymru bob blwyddyn, gan fuddsoddi mewn lleihau maint dosbarthiadau babanod a buddsoddi yn y rhaglen dysgu proffesiynol fwyaf i athrawon yn y DU.**
- **Cynyddu Premiwm Disgyblion Cymru er mwyn cau'r bwlch cyrhaeddiad**



**rhwng ein disgyblion mwyaf difreintiedig a'u cyfoedion.**

- **Goruchwylio'r polisi cymorth i fyfyrwyr addysg uwch mwyaf blaengar yn y DU, sy'n cynorthwyo pob myfyriwr, ni waeth beth fo'i ddull astudio, gyda grantiau costau byw.**

## Yn Well i'r Blynyddoedd Cynnar

- Mae buddsoddi mewn addysg blynyddoedd cynnar o ansawdd uchel yn cael effaith fawr ar gyrhaeddiad plant wrth iddynt ymuno â'r ysgol. Mae gan ein plant mwyaf agored i niwed y mwyaf i'w ennill o leoliadau blynyddoedd cynnar rhagorol, ac mae partneriaethau cryf â rhieni yn elfen allweddol.
- Mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol gynllun i sicrhau bod plant yn cael y dechrau gorau posibl mewn bywyd: gofal plant rhad ac am ddim o ansawdd uchel o naw mis oed i bob rhiant sy'n gweithio, wedi'i ariannu'n briodol. Bydd rhieni sydd eisiau dychwelyd i weithio yn cael y cymorth y mae arnynt ei angen, gan wybod y bydd eu plentyn yn hapus, yn iach ac yn barod i ddechrau'r ysgol.
- Byddwn yn cynnig gofal plant rhad ac am ddim o ansawdd uchel i bob plentyn rhwng dwy a phedair blwydd oed a phlant rhwng naw a 24 mis oed y mae eu rhieni'n gweithio: 35 awr yr wythnos, 48 wythnos y flwyddyn.
- Mae gofal plant wedi'i ddatganoli i Lywodraeth Cymru, ond byddai'r ymrwymiad gofal plant hwn yn golygu bod gan Lywodraeth Cymru £464m yn ychwanegol y flwyddyn, ar gyfartaledd. Byddem yn annog Llywodraeth Cymru i ddefnyddio'r cyllid hwn i ddarparu'r un cynnig gofal plant rhad ac am ddim o ansawdd uchel yng Nghymru.

## Athrawon – ein hased mwyaf ym myd addysg

Athrawon yw'r ased mwyaf a phwysicaf yn ein system addysg. Dyna pam mae Kirsty Williams wedi sicrhau'r buddsoddiad unigol mwyaf yn y proffesiwn ers datganoli; gan ddarparu'r cynnydd uniongyrchol mwyaf mewn cyflogau cychwynnol athrawon yn unman yn y DU; a chyflwyno'r rhaglen dysgu proffesiynol fwyaf cynhwysfawr a fu ar gael erioed yn hanes addysg yn y DU. Rydym yn:

- Cefnogi safonau achredu newydd ar gyfer cyrsiau hyfforddi athrawon er mwyn denu'r bobl fwyaf dawnus i'r proffesiwn.

- Lleihau biwrocratiaeth ystafell ddosbarth er mwyn sicrhau bod athrawon yn gallu ymroi eu hamser i addysgu.
- Sicrhau bod Gwobrau Addysgu Proffesiynol yn cael eu cynnal yng Nghymru bob blwyddyn i ddathlu arfer gorau.
- Gwneud mwy o ddefnydd o reolwyr busnes tra medrus er mwyn rhoi cymorth mwy effeithiol i arweinwyr ysgolion a lleihau'r baich arnynt.
- Annog athrawon sydd â rhywfaint o afael ar y Gymraeg i ddatblygu eu sgiliau ymhellach i addysgu trwy gyfrwng y Gymraeg, a datblygu 'cronfeydd' o staff addysgu sy'n siarad Cymraeg i'w rhannu rhwng ysgolion.
- Cefnogi safonau addysgu newydd er mwyn hyrwyddo rhagoriaeth ym maes addysgu a chefnogi dysgu proffesiynol ar hyd gyrfa i bob athro a'r gweithlu addysg.
- Buddsoddi mwy o gyllid nag erioed mewn dysgu proffesiynol athrawon.
- Denu mwy o ymgeiswyr o ansawdd uchel a graddedigion aeddfed o safon uchel i faes addysgu, a'u cadw, trwy Raglen Athrawon Graddedig wedi'i hailgynllunio.

## Gwella Safonau Addysg

Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol eisiau rhoi'r cyfle i bob plentyn fynd i ysgol leol ragorol. Rydym yn:

- Buddsoddi mwy nag erioed mewn adeiladu ysgolion newydd ac uwchraddio ansawdd adeiladau ysgol.
- Lleihau maint dosbarthiadau babanod fel bod athrawon yn cael amser i roi sylw i anghenion disgyblion unigol fel y gallant gyrraedd eu potensial llawn.
- Cyflwyno'r Strategaeth Ysgolion Gwledig gyntaf erioed, sy'n cynnwys rhagdybiaeth yn erbyn cau ysgolion gwledig ac o blaid cyllid ychwanegol ar gyfer ysgolion gwledig.
- Cefnogi'r Academi Arweinyddiaeth Addysgol Genedlaethol gyntaf erioed yng Nghymru – gan sicrhau bod rhwydweithiau, addysg a chymorth ar gael i'r holl arweinwyr a darpar arweinwyr yn ein hysgolion, a thrwy hynny unioni blynyddoedd o esgeulustod.
- Cyflwyno asesiadau addasol ar-lein i gynorthwyo'r proffesiwn i godi safonau Llythrennedd a Rhifedd.
- Sefydlu un awdurdod rheoleiddio, goruchwylio a chydlynu ar gyfer y sector addysg ôl-orfodol.
- Ymestyn Rhwydwaith Seren er mwyn cyrraedd dysgwyr yn gynharach, gan



sicrhau eu bod yn cael y cymorth a'r cyfleoedd i gyflawni eu potensial llawn.
- Mynd i'r afael â'r prinder gwerslyfrau Cymraeg sydd ar gael a sicrhau adnoddau dwyieithog o'r radd flaenaf ar gyfer ein cwricwlwm newydd.
- Buddsoddi £20 miliwn i gefnogi'r broses o weithredu'r Ddeddf Anghenion Dysgu Ychwanegol.
- Buddsoddi mewn band eang ysgolion i sicrhau bod pob ysgol ledled Cymru yn gallu ymsefydlu'r Fframwaith Cymhwysedd Digidol newydd a chael gafael ar adnoddau sydd ar gael trwy lwyfan Hwb.

## Creu Cwricwlwm Gwell

Yn y llywodraeth yng Nghymru, mae Kirsty Williams yn datblygu cwricwlwm o'r radd flaenaf a fydd yn helpu i godi safonau academaidd ar draws ein hysgolion. Mae'n gwricwlwm sy'n cael ei gynllunio gan athrawon ac arbenigwyr ac sy'n cael ei ffurfio mewn ysgolion ledled Cymru.

Rydym eisiau rhoi'r hyblygrwydd i ysgolion ac athrawon allu addysgu disgyblion yn y ffordd sydd orau ganddynt. Ond rydym hefyd yn credu bod angen i rieni a phlant wybod y bydd y cwricwlwm ym mhob ysgol yn ymdrin â'r hanfodion ac yn cyfuno gwybodaeth a sgiliau. Bydd y cwricwlwm hwn yn cynorthwyo athrawon i fod yn addysgwyr medrus sy'n ysbrydoli awydd i ddysgu.

Ochr yn ochr â chyflwyno cwricwlwm newydd ar gyfer Cymru, rydym yn:

- Cyflwyno addysg perthnasoedd a rhywioldeb gynhwysfawr a chynhwysol sy'n ymdrin â chydsyniad, rhywioldeb, hunaniaeth rhywedd a pherthnasoedd iach.
- Gwella ansawdd addysg alwedigaethol, gan gynnwys sgiliau ar gyfer entrepreneuriaeth a hunangyflogaeth, a gwella'r cyngor ar yrfaoedd mewn ysgolion a cholegau.
- Gwneud defnydd gwell o Gynlluniau Strategol Cymraeg mewn Addysg, gan sicrhau bod cynghorau'n gallu cefnogi twf mewn addysg cyfrwng Cymraeg a disgyblion dwyieithog.
- Gwella'r cysylltiadau rhwng cyflogwyr ac ysgolion, gan annog ysgolion i gymryd rhan mewn cynlluniau cyflogaeth a menter sy'n hyrwyddo profiadau rheolaidd mewn busnes. Yn arbennig, rydym yn ysbrydoli mwy o blant a phobl ifanc i ddilyn gyrfaoedd technegol a gwyddonol trwy bartneriaeth â busnesau perthnasol.

- Herio stereoteipio rhywedd a rhywioli cynnar, gan weithio gydag ysgolion i hyrwyddo delwedd gadarnhaol o'r corff a chwalu hen ganfyddiadau ynglŷn â pha bynciau academaidd sy'n briodol o safbwynt rhywedd.
- Sefydlu Gwaddol Cenedlaethol ar gyfer Cerddoriaeth, a fydd yn galluogi mwy o bobl ifanc i fanteisio ar gyfleoedd cerddorol.

## Paratoi plant a theuluoedd i ddysgu

Mae ysgolion yn y rheng flaen wrth ddelio â phlant ac oedolion ifanc sydd â phroblemau iechyd meddwl. Rydym hefyd yn gwybod nad yw plant yn gallu dysgu'n iawn os nad ydynt yn cael digon o faeth.

Mae rhieni dan bwysau mawr ac nid ydynt yn cael llawer o gymorth, er gwaethaf y ffaith mai'r cartref yw'r dylanwad mwyaf ar ddysgu plant. Mae angen i rieni gael eu grymuso a'u cefnogi'n briodol gyda'r offer y mae arnynt eu hangen i fagu'r genhedlaeth nesaf ac ymwneud â chynnal ysgolion eu plant. Rydym yn:

- Sicrhau bod staff addysgu yn cael eu hyfforddi i allu adnabod problemau iechyd meddwl a bod ysgolion yn darparu mynediad at gymorth a chwnsela i ddisgyblion ar unwaith.
- Helpu i ddarparu prydau bwyd o ansawdd da a gweithgareddau mewn ysgolion cynradd yn ystod gwyliau haf yr ysgol.
- Sefydlu ymagwedd ysgol gyfan at iechyd meddwl a lles.
- Mynd i'r afael â bwlio mewn ysgolion, gan gynnwys bwlio ar sail rhywedd, rhywioldeb, hunaniaeth rhywedd, neu fynegiant rhywedd.
- Cynyddu'r cynllun Grant Datblygu Disgyblion – Mynediad i helpu teuluoedd difreintiedig i dalu am wisg ysgol, cit chwaraeon a chyfarpar ar gyfer gweithgareddau y tu allan i'r ysgol.
- Cyflwyno canllawiau newydd i wneud gwisgoedd ysgol yn rhatach ac yn niwtral o ran rhywedd.
- Cefnogi ymgyrch 'Parod i Ddysgu' i helpu rhieni a gofalwyr i baratoi eu plentyn ar gyfer yr ysgol.
- Ymestyn Menter Ysgolion Bro newydd i gynnig cymorth ychwanegol i ysgolion a cholegau i helpu rhieni a phlant i ddysgu gyda'i gilydd.
- Sicrhau bod sefydliadau addysgol a theuluol arweiniol yn cydweithredu i wella llif gwybodaeth ddefnyddiol rhwng y cartref a'r ysgol heb gynyddu llwyth gwaith athrawon.



## Sector prifysgolion o'r radd flaenaf, sydd ar agor i bawb

Mae gallu prifysgolion i ddenu cyllid i gynnal gweithgarwch ymchwil o'r ansawdd uchaf a darparu'r addysgu gorau yn dibynnu ar y ffaith ein bod yn agored ac yn allblyg. Mae ymagwedd drychinebus Llywodraeth y DU tuag at Brexit eisoes yn niweidio ein prifysgolion. Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn amddiffyn ein sector addysg uwch byd-arweiniol, sy'n dibynnu ar gydweithredu rhyngwladol a'r gallu i ddenu academyddion blaenllaw o bob rhan o'r byd.

Yn y llywodraeth, rydym wedi cyflwyno'r system cyllid myfyrwyr fwyaf hael a blaengar yn y DU. Mae'n unigryw yn Ewrop gan ei bod yn cynorthwyo pob myfyriwr gyda grantiau costau byw. Rydym wedi cyflwyno system sy'n darparu cymorth ariannol ar gyfer costau byw pob myfyriwr, gan gynnwys cymorth cyfatebol i ddysgwyr ôl-raddedig a rhan-amser. Mae hyn wedi galluogi mwy o fyfyrwyr rhan-amser ac ôl-raddedig nag erioed i gael mynediad at addysg uwch, gan hybu symudedd cymdeithasol a ffyniant economaidd. Rydym yn:

- Goruchwylio'r polisi cymorth i fyfyrwyr addysg uwch mwyaf blaengar yn y DU, sy'n cynorthwyo pob myfyriwr, ni waeth beth fo'i ddull astudio, gyda grantiau costau byw.
- Sicrhau bod pob prifysgol yn gweithio i ehangu cyfranogiad ar draws y sector, gan flaenoriaethu eu gwaith gyda myfyrwyr mewn ysgolion a cholegau a mynnu bod pob prifysgol yn agored ynglŷn â'i meini prawf dethol.
- Cydnabod gwerth staff a myfyrwyr rhyngwladol i brifysgolion a hyrwyddo cydweithredu rhyngwladol.
- Annog prifysgolion i helpu i godi safonau mewn ysgolion trwy ymestyn cynlluniau mentora israddedigion mewn disgyblaethau allweddol fel gwyddoniaeth, ieithoedd a chyfrifiadura.
- Parhau i geisio darbwyllo Llywodraeth y DU nad ymfudwyr yw myfyrwyr ac na ddylent gyfrif tuag at ystadegau ymfudo cenedlaethol.
- Buddsoddi mewn cyfleoedd symudedd allanol gweddnewidiol i fyfyrwyr o Gymru – gan gysylltu ein myfyrwyr, teuluoedd a chymunedau â phrifysgolion a chwmnïau ledled y byd.

Byddwn yn atal Brexit ac yn cadw'r DU yn rhan ganolog o'r UE er mwyn:

- Gwrthdroi'r niwed i brifysgolion a achosir gan Brexit a'r ansicrwydd cysylltiedig.
- Cynnal mynediad at ffrydiau cyllido'r UE, gan gynnwys cyllid Horizon 2020 a Marie Sklodowska- Curie Actions.

## Cyfleoedd gydol oes i ddysgu

Mae angen i ni gynyddu sylfaen sgiliau Cymru, yn enwedig yn y technolegau a'r diwydiannau sydd bwysicaf i'n dyfodol economaidd. Rydym eisiau i fusnesau ddod i'r arfer o dderbyn a hyfforddi pobl ifanc fel prentisiaid ym mhob sector, ac i brentisiaethau lefel uwch gael eu cydnabod yn ddewis amgen sy'n cael ei barchu yn lle addysg brifysgol.

Wrth i'n heconomi newid yn gyflym, mae'r angen i bobl ailhyfforddi ac ailsgilio yn bwysicach nag erioed. Nid yw'n wir mwyach y bydd y sgiliau a ddysgir pan fydd rhywun yn 18 neu'n 21 oed yn para drwy gydol ei yrfa. Mae'r gallu i ddysgu sgiliau newydd neu newid gyrfa hefyd yn allweddol i greu'r cyfle i bobl lwyddo ar unrhyw adeg o'u bywyd. Dyna pam y bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn cyflwyno hawl newydd i ddysgu gydol oes.

Yn y llywodraeth, mae Kirsty Williams yn cyflwyno deddfwriaeth i ddarparu datrysiad system gyfan i gyllid, trefniadau rheoleiddio a pherfformiad ym maes addysg, hyfforddiant ac ymchwil trydyddol. Cyflawnir hyn trwy sefydlu Comisiwn newydd a fydd yn ymgymryd â chyfrifoldebau ar draws y sectorau hynny. Bydd hyn yn sicrhau bod gan Gymru system addysg ôl-16 sy'n deg, yn rhagorol ac yn fentrus. Byddwn yn:

- Cyflwyno Cyfrifon Dysgu Personol sy'n darparu cyrsiau rhad ac am ddim a hyblyg i bobl fel y gallant gyflawni'r sgiliau a'r cymwysterau y mae arnynt eu hangen i gamu ymlaen mewn bywyd.
- Ehangu mynediad at brentisiaethau, gan gynnwys prentisiaethau lefel uwch, ar draws sectorau allweddol fel diwydiannau creadigol, digidol a pheirianneg, trwy fwy o gydweithredu rhwng prifysgolion, colegau Addysg Bellach a diwydiant.
- Ymestyn yr ardoll brentisiaethau i fod yn 'Ardoll Sgiliau a Hyfforddiant' ehangach er mwyn helpu i baratoi gweithlu'r DU ar gyfer yr heriau economaidd sydd i ddod.
- Gweithio gyda'r Coleg Cymraeg Cenedlaethol a phartneriaid eraill i wella darpariaeth sgiliau, cyrsiau galwedigaethol a hyrwyddo cyrsiau cyfrwng Cymraeg a recriwtio a chadw athrawon, yn unol â'n strategaeth Cymraeg 2050.
- Ceisio cynyddu nifer y prentisiaid o gefndiroedd BAME, sicrhau cydbwysedd rhywedd ar draws sectorau diwydiant, ac annog grwpiau a dangynrychiolir i ymgeisio.



- Rhoi anghenion dysgwyr wrth wraidd y system addysg trwy sefydlu llwybrau dysgu a gyrfaol eglur a hyblyg.

## Sut mae'r UE yn Helpu

Mae aelodaeth â'r UE wedi bod o fudd mawr i'n sector prifysgolion. Mae gan y DU un o'r sectorau prifysgolion cryfaf yn y byd ac mae'n faes lle'r ydym yn cyflawni ymhell y tu hwnt i'r disgwyl. Mae'r UE – trwy gyllid, cyfleusterau a phobl – yn rhan allweddol o lwyddiant y DU. Cyn y refferendwm, roedd prifysgolion y DU yn derbyn oddeutu £730 miliwn y flwyddyn gan yr UE i'w wario ar ymchwil. Mae aelodaeth â'r UE yn golygu bod academyddion o safon ryngwladol yn gallu dod i addysgu yn ein prifysgolion yn rhwydd a throsglwyddo eu harbenigedd i fyfyrwyr Prydeinig. Mae hefyd yn caniatáu iddynt ddefnyddio'r cyfleusterau gwyddonol mawr mewn rhannau eraill o'r UE, sy'n golygu bod y DU yn lle deniadol i weithio a gwneud gwaith ymchwil.

Mae'r cynllun Erasmus yn rhoi cyfleoedd gwych i fyfyrwyr Prydeinig astudio a byw ledled Ewrop, gan gyfoethogi eu profiad yn y brifysgol a'u helpu i ddatblygu'n ddinasyddion cyflawn. Mae prifysgolion a chymunedau'r DU hefyd yn elwa'n fawr o fyfyrwyr o bob rhan o'r UE sy'n astudio yn y DU o ganlyniad i'r cynllun.

Mae'r UE o fudd i ysgolion hefyd. Mae prinder staff mewn nifer o feysydd yn ein hysgolion a, heb ddinasyddion yr UE, byddai staff addysgu dan hyd yn oed mwy o bwysau – mae dinasyddion yr UE sy'n addysgu mewn ysgolion Prydeinig yn gwella addysg plant. Mae aelodaeth â'r UE hefyd yn golygu bod tripiau ysgol a theithiau cyfnewid ar gael yn hwylus i ysgolion, gan ganiatáu i blant brofi diwylliannau eraill ac ehangu eu gorwelion.



# Ein Cynllun ar gyfer Cymdeithas Werdd ac Economi Werdd

Dylai'r DU fod yn arwain y ffordd wrth fynd i'r afael â'r argyfwng hinsawdd. Ni yw'r genhedlaeth gyntaf i wybod ein bod yn dinistrio'r amgylchedd, a'r genhedlaeth olaf sydd â chyfle i weithredu ynghylch hynny cyn iddi fynd yn rhy hwyr. Does dim Planed B. Os na fyddwn yn gweithredu, bydd miliynau o bobl – gartref a thramor – yn dioddef effeithiau llifogydd, stormydd a gwres mawr, prisiau bwyd sy'n codi a lledaeniad clefydau; bydd y system ariannol fyd-eang yn cael ei hansefydlogi, gallai gwledydd tlawd ddymchwel a bydd nifer y ffoaduriaid yn codi'n ddychrynllyd.

Mae'r Ceidwadwyr wedi dangos eu bod yn anaddas i arwain wrth ymateb i'r her hanesyddol hon. Maen nhw wedi diystyru terfynau'r UE ar lygredd aer dro ar ôl tro ac wedi dileu cynlluniau effeithlonrwydd ynni a fyddai'n lleihau biliau ynni ac yn rhoi terfyn ar bla tlodi tanwydd. Maen nhw wedi gwrthod cefnogi ynni adnewyddadwy ar yr un pryd â cheisio gorfodi ffracio ar gymunedau nad ydynt ei eisiau. Nid ydynt ar y trywydd iawn i gyflawni targedau hinsawdd y DU ac maen nhw'n llusgo'u traed o ran lleihau'r defnydd o blastigion. Er iddynt addo adfer yr amgylchedd naturiol, maen nhw wedi llywyddu dros ddirywiad sawl rhywogaeth bywyd gwyllt, ac wedi methu â chyflawni nodau ansawdd aer a dŵr droeon.

Yn y cyfamser, mae polisïau Llafur yn tynnu'r sylw oddi ar weithredu ystyrlon ar yr amgylchedd. Maen nhw eisiau gwario biliynau ar ailwladoli'r cwmnïau sy'n rheoli'r grid trydan, y diwydiant dŵr a'r rheilffyrdd. Yn ogystal ag achosi aflonyddwch mawr a bod yn ddychrynllyd o ddrud, byddai hynny'n ddibwrpas hefyd, oherwydd y gwir amdani yw bod modd cyflawni nodau uchelgeisiol o ran yr amgylchedd a defnyddwyr trwy reoleiddio llymach. Nid yw economi a gynlluniwyd gan sosialwyr yn ffordd briodol o fynd i'r afael â'r argyfwng amgylcheddol.

Mae methiannau'r Ceidwadwyr a Llafur nid yn unig yn anesgusodol yn foesol ond yn anaddas yn economaidd. Mae'r newid yn yr hinsawdd a chwymp systemau naturiol yn argyfyngau enfawr, ond maen nhw hefyd yn gyfle euraid i greu dyfodol gwahanol, lle mae pobl yn anadlu aer glân, yn yfed dŵr glân ac yn defnyddio ynni

glân, a lle mae cymunedau a diwydiannau'n byw mewn cytgord â natur, nid ar ei thraul.

Mae arnom angen llywodraeth newydd sydd â'r weledigaeth a'r ewyllys i achub ar y cyfle hwnnw. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn cynnig cynllun newydd i arloesi ein ffordd allan o'r argyfwng. I alluogi pob cymuned yn y wlad, ac adnoddau'r sectorau cyhoeddus a phreifat i'w gyflawni. I droi man geni'r chwyldro diwydiannol yn gartref i'r Chwyldro Gwyrdd newydd.

Mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol gynllun y rhoddwyd ystyriaeth ofalus iddo ac y gellir ei gyflawni ar gyfer y Dyfodol Gwyrdd newydd hwnnw – yn lle'r ocsiwn o chwith o ddyddiadau ffantasi i Brydain gyflawni allyriadau nwyon tŷ gwydr sero net a gynigir gan y pleidiau eraill. Byddwn yn cyflwyno rhaglen argyfwng deng mlynedd i leihau allyriadau'n sylweddol ar unwaith, ac yn dileu allyriadau'n raddol o'r sectorau anodd eu trin sy'n weddill erbyn 2045 fan bellaf.

**Ein blaenoriaethau cyntaf yn y senedd nesaf fydd:**

- **Rhaglen frys i inswleiddio pob cartref ym Mhrydain erbyn 2030, gan leihau allyriadau a biliau thanwydd a rhoi terfyn ar dlodi tanwydd.**
- **Buddsoddi mewn pŵer adnewyddadwy fel bod o leiaf 80% o drydan y DU yn cael ei gynhyrchu o ynni adnewyddadwy erbyn 2030 – a gwahardd ffracio am byth.**
- **Gwarchod natur a chefn gwlad, mynd i'r afael â cholli bioamrywiaeth a phlannu 60 miliwn o goed y flwyddyn ledled y DU i amsugno carbon, gwarchod bywyd gwyllt a gwella iechyd.**
- **Buddsoddi mewn trafnidiaeth gyhoeddus, trydaneiddio rheilffyrdd Prydain a sicrhau bod yr holl geir newydd yn rhai trydan erbyn 2030.**

## Gweithredu ar yr Hinsawdd Nawr

Yr unig ffordd o fynd i'r afael â'r argyfwng hinsawdd yn effeithiol yw trwy sicrhau bod pob penderfyniad perthnasol a wneir gan Lywodraeth y DU, Llywodraeth Cymru, cynghorau, busnesau, buddsoddwyr, cymunedau ac aelwydydd yn gwneud cynnydd tuag at yr amcan sero net. Byddwn yn gosod targed cyfreithiol rwymol newydd i leihau allyriadau nwyon tŷ gwydr net i sero erbyn 2045 fan bellaf, ac yn rhoi cynllun gweithredu cynhwysfawr ynglŷn â'r hinsawdd ar waith, gan leihau allyriadau ar draws pob sector. I wireddu'r nodau hyn, byddwn yn:



- Mynnu bod pob cwmni sydd wedi'i gofrestru yn y DU a'i restru ar gyfnewidfeydd stoc y DU yn gosod targedau sy'n gyson â Chytundeb Paris ar y newid yn yr hinsawdd ac yn adrodd ar sut maen nhw'n cael eu gweithredu; a sefydlu dyletswydd gofal gorfforaethol gyffredinol ar gyfer yr amgylchedd a hawliau dynol.
- Rheoleiddio gwasanaethau ariannol i annog buddsoddiadau gwyrdd, gan gynnwys mynnu bod cronfeydd a rheolwyr pensiynau yn dangos bod eu portffolio buddsoddiadau'n gyson â Chytundeb Paris, a chreu pwerau newydd i reoleiddwyr weithredu os nad yw banciau a buddsoddwyr eraill yn rheoli risgiau'r hinsawdd yn iawn.
- Sefydlu Adran Newid yn yr Hinsawdd ac Adnoddau Naturiol, penodi Prif Ysgrifennydd ar gyfer Cynaliadwyedd yn y Trysorlys ar lefel y cabinet i gydlynu camau gweithredu ar draws y llywodraeth i wneud yr economi'n gynaliadwy, yn effeithlon o ran adnoddau ac yn ddi-garbon, a mynnu bod holl asiantaethau'r llywodraeth yn esbonio eu cyfraniad tuag at gyrraedd targedau hinsawdd.
- Sefydlu Cynulliadau Hinsawdd Dinasyddion i gynnwys y cyhoedd wrth fynd i'r afael â'r argyfwng hinsawdd.
- Gwarantu Swyddfa Amddiffyn yr Amgylchedd sy'n gwbl annibynnol ar y llywodraeth ac sy'n meddu ar bwerau ac adnoddau i orfodi cydymffurfio â thargedau sy'n ymwneud â'r hinsawdd a'r amgylchedd.
- Cynyddu gwariant y llywodraeth ar amcanion sy'n ymwneud â'r hinsawdd a'r amgylchedd, gan gyrraedd o leiaf 5% o'r cyfanswm o fewn pum mlynedd.
- Cefnogi buddsoddiad ac arloesedd mewn seilwaith a thechnolegau di-garbon sy'n defnyddio adnoddau'n effeithlon trwy greu Banc Buddsoddi Gwyrdd newydd a chynyddu'r cyllid ar gyfer Innovate UK a chanolfannau arloesedd a thechnoleg newydd Catapwlt ar ffermio a defnyddio tir a dileu carbon deuocsid.
- Cyflawni addewid G7 y DU i derfynu cymorthdaliadau tanwydd ffosil erbyn 2025 a darparu cyllid Trawsnewid Teg (Just Transition) ar gyfer ardaloedd a chymunedau y mae'r symudiad i allyriadau nwyon tŷ gwydr sero net yn cael effaith negyddol arnynt.

## Ynni Adnewyddadwy

Diolch i bolisïau'r Democratiaid Rhyddfrydol yn y llywodraeth, mae'r DU wedi cymryd camau breision ymlaen wrth leihau allyriadau yn sgil cynhyrchu pŵer; pŵer gwynt yw'r ffordd rataf o gynhyrchu trydan erbyn hyn. Nawr, gallwn fynd ymhellach:

ein nod yw datgarboneiddio'r sector pŵer yn llwyr, gan gefnogi ynni adnewyddadwy ac ynni yn y cartref ac ynni cymunedol i greu swyddi a lleihau mewnforion tanwydd ffosil. Byddwn yn:

- Cyflymu'r defnydd o bŵer adnewyddadwy, gan ddarparu mwy o gyllid, dileu cyfyngiadau'r Ceidwadwyr ar ynni solar a gwynt ac adeiladu mwy o ryng-gysylltyddion i warantu sicrwydd cyflenwad; ein nod yw cyrraedd o leiaf 80% o drydan adnewyddadwy yn y DU erbyn 2030.
- Gwahardd ffracio oherwydd ei effeithiau negyddol ar y newid yn yr hinsawdd, y cymysgedd ynni a'r amgylchedd lleol.
- Cefnogi buddsoddiad ac arloesedd mewn technolegau ynni blaengar, gan gynnwys pŵer llanw a thonnau, storio ynni, ymateb i'r galw, gridiau deallus a hydrogen.
- Yng Nghymru, gallai cynlluniau diwygiedig ar gyfer Morlyn Llanw Abertawe gael eu cymeradwyo – o'r diwedd – o dan gynllun y Democratiaid Rhyddfrydol i gefnogi buddsoddiad mewn ynni'r llanw. Byddai hyn yn datblygu'r dechnoleg ac yn helpu i gyflawni ein targedau uchelgeisiol ar gyfer lleihau carbon.
- Darparu £12 biliwn ychwanegol dros bum mlynedd i gefnogi'r ymrwymiadau hyn, a sicrhau bod y Comisiwn Seilwaith Cenedlaethol, y Grid Cenedlaethol, y rheoleiddiwr ynni Ofgem, ac Ystad y Goron yn gweithio gyda'i gilydd i gyflawni ein hamcan hinsawdd sero net.

## Cartrefi Cynnes a Biliau Ynni Is

Dylai pawb allu fforddio gwresogi eu cartref fel ei fod yn ddigon cynnes iddynt fyw ynddo. Fodd bynnag, mae gormod o aelwydydd yn byw mewn tlodi tanwydd. Cartrefi na allant fforddio eu gwresogi i safon ddigonol, a hynny'n rhannol oherwydd inswleiddio gwael a cholli gwres. Mae hyn yn cyfrannu at y newid yn yr hinsawdd ac yn achosi iechyd gwael a marwolaethau cynnar. Byddwn yn gweithredu rhaglen deng mlynedd brys i leihau faint o ynni y mae pob adeilad yn ei ddefnyddio, gan leihau allyriadau a biliau ynni, rhoi terfyn ar dlodi tanwydd a chynhyrchu cyflogaeth. Cefnogir hyn trwy fuddsoddi dros £6 biliwn y flwyddyn mewn inswleiddio cartrefi a gwresogi di-garbon erbyn pumed flwyddyn y Senedd. Byddwn yn:

- Torri biliau ynni, rhoi terfyn ar dlodi tanwydd erbyn 2025 a lleihau allyriadau o adeiladau, gan gynnwys trwy ôl-osod am ddim mewn cartrefi incwm isel, treialu cynllun Cartrefi sy'n Arbed Ynni newydd â chymhorthdal, graddio Treth Dir y



Dreth Stamp yn ôl sgôr ynni'r eiddo a lleihau TAW ar inswleiddio cartrefi.
- Mynnu bod pob cartref ac adeilad annomestig newydd yn cael eu hadeiladu i safon ddi-garbon (sy'n golygu bod yr un faint o ynni'n cael ei gynhyrchu ar y safle, trwy ffynonellau adnewyddadwy, ag sy'n cael ei ddefnyddio) erbyn 2021, gan godi i safon ('Passivhaus') fwy uchelgeisiol erbyn 2025.
- Cynyddu safonau effeithlonrwydd ynni lleiaf ar gyfer eiddo rhentu preifat a dileu'r terfyn cost ar welliannau.
- Mabwysiadu Strategaeth Gwres Di-garbon, gan gynnwys diwygio'r Cymhelliad Gwres Adnewyddadwy, mynnu bod pympiau gwres yn cael eu gosod yn raddol mewn cartrefi a busnesau nad ydynt wedi'u cysylltu â'r grid nwy, a threialu prosiectau i bennu'r cymysgedd gorau o ddatrysiadau gwresogi di-garbon yn y dyfodol.

## Diwydiant Gwyrdd, Swyddi Gwyrdd a Chynhyrchion Gwyrdd

Gyda'r gefnogaeth iawn, mae cyfle i fusnesau Prydeinig arwain y ffordd yn fyd-eang o ran technoleg werdd. Mae gan fusnesau carbon isel y DU drosiant cyfunol o £80 biliwn eisoes, ac maen nhw'n cyflogi 400,000 o bobl yn uniongyrchol. Bydd hyn yn tyfu o dan ein cynigion. Byddwn yn cefnogi arloesedd i leihau'r defnydd o ynni a thanwydd ffosil mewn prosesau diwydiannol – gan leihau allyriadau a'r ddibyniaeth ar fewnforion tanwydd ffosil a chynhyrchu swyddi a ffyniant. Byddwn yn:

- R● Lleihau allyriadau o brosesau diwydiannol trwy gefnogi dal a storio carbon a phrosesau carbon isel newydd ar gyfer cynhyrchu sment a dur.
- Rhoi mwy o gyngor i gwmnïau ar leihau allyriadau, cefnogi datblygiad clystyrau diwydiannol rhanbarthol ar gyfer arloesedd di-garbon a chynyddu'r Gronfa Trawsnewid Ynni Diwydiannol.
- Ehangu'r farchnad ar gyfer cynhyrchion a gwasanaethau gwyrdd gyda meini prawf gwyrdd sy'n cynyddu'n raddol mewn polisi caffael cyhoeddus.
- Terfynu cymorth gan Gyllid Allforio'r DU ar gyfer gweithgareddau sy'n gysylltiedig â thanwydd ffosil, a phwyso am safonau amgylcheddol uwch ar gyfer asiantaethau credyd allforio ar draws y Sefydliad ar gyfer Cydweithrediad a Datblygiad Economaidd (OECD).

Economïau llwyddiannus y dyfodol fydd y rhai sy'n mabwysiadu technegau 'economi gylchol', gan leihau faint o adnoddau a ddefnyddir, gwastraff a llygredd

trwy gynyddu adfer, ailddefnyddio, ailgylchu ac ailweithgynhyrchu i'r eithaf. Bydd hyn yn lleihau costau i ddefnyddwyr a busnesau, yn gwarchod yr amgylchedd ac yn creu swyddi a mentrau newydd. Byddwn yn cyflwyno Deddf Effeithlonrwydd Adnoddau a Dim Gwastraff i sicrhau bod y DU yn symud tuag at economi gylchol, gan gynnwys:

- Gwahardd plastigion untro na ellir eu hailgylchu a'u disodli â dewisiadau amgen fforddiadwy, gan anelu at eu dileu'n llwyr o fewn tair blynedd, fel cam cyntaf tuag at ddod â'r diwylliant 'cymdeithas wastraffus' i ben ac uchelgais i roi terfyn ar allforion gwastraff plastig erbyn 2030.
- Helpu defnyddwyr trwy ddylunio cynhyrchion yn well fel y gellir eu hatgyweirio, eu hailddefnyddio a'u hailgylchu'n haws, gan gynnwys ymestyn deddfwriaeth 'hawl i atgyweirio' yr UE sydd ar ddod ar gyfer nwyddau defnyddwyr, gan felly helpu busnesau atgyweirio bach a grwpiau cymunedol i ymladd yn erbyn 'darfodiad bwriadus'.
- Cyflwyno targedau cyfreithiol rwymol ar gyfer lleihau'r defnydd o adnoddau naturiol allweddol a chymhellion eraill ar gyfer busnesau i wella effeithlonrwydd adnoddau.
- Gweithio gyda Llywodraeth Cymru a llywodraethau datganoledig eraill i greu cynllun dychwelyd ernes estynedig ar gyfer pob potel a chynhwysydd bwyd a diod.

## Achub Byd Natur a Chefn Gwlad

Mae amgylchedd naturiol iach, lle mae pobl yn anadlu aer glân, yn yfed dŵr glân ac yn mwynhau harddwch y byd naturiol, wrth wraidd y gymdeithas a'r economi y mae'r Democratiaid Rhyddfrydol eisiau eu creu. Ac eto, mae byd natur dan fygythiad: mae arferion ffermio anghynaliadwy yn gwagio'r pridd ac, ynghyd â llygredd aer a dŵr, yn cyfrannu at ddirywiad cyflym mewn niferoedd pryfed, adar ac anifeiliaid eraill. Mae un o bob saith o rywogaethau'r DU mewn perygl o ddiflannu.

Byddwn yn gwarchod yr amgylchedd naturiol ac yn gwrthdroi colli bioamrywiaeth ar yr un pryd ag ymladd yn erbyn y newid yn yr hinsawdd. Byddwn yn cefnogi ffermwyr i warchod ac adfer yr amgylchedd naturiol ochr yn ochr â'u rolau hollbwysig wrth gynhyrchu bwyd, gan ddarparu cyflogaeth a hyrwyddo twristiaeth, hamdden ac iechyd a lles. Byddwn yn:



- Ymladd yn erbyn y newid yn yr hinsawdd, a helpu byd natur a phobl trwy gydlynu'r broses o blannu 60 miliwn o goed y flwyddyn ledled y DU a chyflwyno gofynion ar gyfer mwy o ddefnydd o bren a gasglwyd mewn ffordd gynaliadwy ar gyfer adeiladu.
- Cefnogi cynhyrchwyr trwy ehangu cylch gorchwyl y Dyfarnwr Cod Cyflenwi Bwydydd a'u helpu i gael mynediad at farchnadoedd.
- Creu 'Cronfa Ecosystemau Tramor Prydeinig' newydd ar gyfer prosiectau adfer amgylcheddol ar raddfa fawr yn Nhiriogaethau Tramor a chanolfannau sofran y DU, sy'n gartref i 94% o'n bywyd gwyllt unigryw.
- Sefydlu cronfa £5 biliwn ar gyfer atal llifogydd ac ymaddasu i'r hinsawdd yn ystod cyfnod y senedd i wella amddiffynfeydd rhag llifogydd, a chyflwyno safonau uchel o ran cydnerthedd llifogydd ar gyfer adeiladau a seilwaith mewn ardaloedd lle y ceir perygl llifogydd.
- Sicrhau bod cynaliadwyedd wrth wraidd polisi pysgodfeydd, gan ailadeiladu stociau pysgod sydd wedi'u disbyddu er mwyn iddynt gyrraedd eu helaethrwydd blaenorol. Dylai pysgotwyr, gwyddonwyr a chadwraethwyr oll fod yn ganolog i system rheoli pysgodfeydd sydd wedi'i datganoli a'i rhanbartholi. Dylai'r polisi mewnfudo fod yn ddigon hyblyg hefyd i sicrhau bod y llafur angenrheidiol ar gael i'r sectorau dal a phrosesu.

## Ffermio, Bwyd ac Amaethyddiaeth

Mae Brexit yn rhoi ffermwyr, busnesau amaethyddol a chymunedau gwledig mewn perygl mawr. Mae'n bygwth torri cysylltiad ffermwyr a busnesau â'u prif farchnadoedd, codi tariffau sylweddol ar gig oen a chig eidion Cymru, a llethu marchnadoedd Cymru â chyw iâr clorinedig a chig eidion a driniwyd â hormonau trwy gytundeb masnach â'r Unol Daleithiau. Mae Brexit hefyd yn bygwth toriadau i'r cymorth ariannol sy'n sail i fywoliaeth ffermwyr a'u gallu i reoli cefn gwlad. Mae'n rhaid i'n system gefnogi ffermwyr, diogelu cynhyrchu bwyd, a gwarchod yr amgylchedd. Dyna pam y byddwn yn:

- Parhau â'n hymgyrch hir i ddiwygio cymorthdaliadau amaethyddol – gan sicrhau bod ffermio Prydeinig yn aros yn gystadleuol.
- Sicrhau bod ffermydd llai yn cael eu hamddiffyn a symud cymorth i ffwrdd oddi wrth dirfeddianwyr mawr, ar yr un pryd â darparu polisi amaethyddol mwy lleol.
- Canolbwyntio cymorth a chymorthdaliadau ar reoli tir yn effeithiol, gan gynnwys gwarchod cefn gwlad, atal llifogydd, cynhyrchu bwyd, a lliniaru'r newid yn yr



hinsawdd.

- Sicrhau bod cytundebau masnach yn y dyfodol yn mynnu bod gan fwyd sy'n cael ei fewnforio safonau diogelwch, amgylcheddol a lles anifeiliaid sydd yr un mor uchel â chynhyrchion domestig, gan gynnwys labelu gwlad tarddiad clir a diamwys ar gyfer cig a chynhyrchion llaeth.
- Annog ffermwyr newydd ac iau trwy hyrwyddo gwahanol fathau o berchenogaeth, gan gynnwys tenantiaethau hwy, rhannu ffermio, a pherchenogaeth gymunedol.
- Parhau i wella safonau iechyd a lles anifeiliaid mewn amaethyddiaeth a hyrwyddo stiwardiaeth gyfrifol o gyffuriau gwrthfiotig.
- Mae TB buchol yn glefyd ofnadwy sy'n achosi dioddefaint i boblogaethau anifeiliaid gwyllt a domestig. Dymunwn barhau ag ymdrechion i ddileu'r clefyd yn Ynysoedd Prydain.

## Lles Anifeiliaid

Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn credu y dylid cymryd pob cam posibl i hyrwyddo lles anifeiliaid ac atal eu dioddefaint, gyda gwell amddiffyniad ar eu cyfer, ac ystyriaeth lawn i'w lles. Byddwn yn:

- Cynnwys egwyddor ymdeimlad anifeiliaid yng nghyfraith y DU i sicrhau bod ystyriaeth briodol yn cael ei rhoi i les anifeiliaid wrth lunio polisïau.
- Cyflwyno cosbau llymach ar gyfer troseddau creulondeb i anifeiliaid, gan gynyddu'r ddedfryd fwyaf o chwe mis i bum mlynedd a sicrhau bod yr Uned Troseddau Bywyd Gwyllt Genedlaethol yn cael ei hariannu'n briodol.
- Sicrhau bod cytundebau masnach yn y dyfodol yn mynnu safonau amgylcheddol a lles anifeiliaid uchel sy'n cyfateb, o leiaf, i safonau yn y DU, a sicrhau bod yr holl gaffael cyhoeddus yn y DU yn cydymffurfio â safonau lles anifeiliaid uchel.
- Gweithredu'n gryf yn erbyn mewnforio anifeiliaid anwes yn anghyfreithlon trwy ofynion adnabod cyfreithiol ar gyfer gwerthiannau ar-lein.
- Lleihau'r defnydd o anifeiliaid mewn arbrofion gwyddonol, gan gynnwys trwy ariannu ymchwil i ddewisiadau amgen.

## Gwella Trafnidiaeth

Mae systemau trafnidiaeth Prydain wedi methu. Mae cymudo ar y trên yn ddrud,

yn annibynadwy ac yn annymunol, ac i'r rhai nad ydynt yn teithio ar y prif lwybrau cymudo, mae bysiau, tramiau a threnau mor anfynych a drud fel bod rhaid defnyddio ceir. Mae hyn, yn ei dro, yn golygu mai llygredd aer – a achosir gan geir yn bennaf – yw un o brif achosion salwch y gellid ei atal yn y DU, gan achosi o leiaf 40,000 o farwolaethau cyn pryd y flwyddyn a chostio £15 biliwn i'r GIG. Ac erbyn hyn, trafnidiaeth ar yr wyneb yw'r brif ffynhonnell allyriadau nwyon tŷ gwydr yn y DU, nad ydynt wedi lleihau braidd dim ers 1990. Mae cyfran y DU o allyriadau awyrennau a morgludiant rhyngwladol wedi codi bron 80% ers 1990. Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn ateb yr her hon drwy::

- Fuddsoddi mewn trafnidiaeth gyhoeddus, bysiau, tramiau a rheilffyrdd i alluogi pobl i deithio'n haws ar yr un pryd â lleihau eu heffaith ar yr amgylchedd.
- Rhoi blaenoriaeth uwch o lawer i annog cerdded a beicio – y dulliau iachaf o deithio.
- Cyflymu'r newid i drafnidiaeth allyriadau isel iawn – ceir, bysiau a threnau – trwy drethiant, cymorthdaliadau a rheoleiddio.

Gyda'i gilydd, bydd y camau hyn yn mynd i'r afael â'r argyfwng aer glân, yn ateb her y newid yn yr hinsawdd, yn gwella iechyd pobl, yn ysgogi ffyniant lleol a rhanbarthol ac yn datblygu diwydiannau di-garbon Prydain, gan arwain at fanteision i swyddi, twf ac allforion.

## Glân a Gwyrdd

I gyflawni ein targed hinsawdd sero net erbyn 2045, ein nod yw lleihau allyriadau o drafnidiaeth ar yr wyneb yn gyfan gwbl bron; ar yr un pryd, bydd y newid i gerbydau trydan a'r newid o drafnidiaeth breifat i drafnidiaeth gyhoeddus yn lleihau llygredd aer yn sylweddol. Mae'n fwy anodd o lawer mynd i'r afael ag allyriadau o gyfran y DU o deithiau hedfan rhyngwladol; mae angen i ni gyflymu'r broses o ddatblygu technolegau newydd a lleihau'r galw am hedfan, yn enwedig gan y 15% o unigolion sy'n defnyddio 70% o deithiau hedfan. Byddwn yn:

- Cynyddu'n sylweddol faint o bobl sy'n defnyddio cerbydau trydan trwy ddiwygio'r system treth gerbydau, lleihau TAW ar gerbydau trydan i 5% a chynyddu'r gyfradd gosod mannau gwefru, gan gynnwys mannau ar strydoedd preswyl a gwefrwyr cyflym iawn mewn gorsafoedd petrol. Byddwn yn sicrhau, erbyn 2030, bod pob car a fan fach newydd sy'n cael eu gwerthu yn rhai trydan.



- Pasio Deddf Aer Glân, wedi'i seilio ar ganllawiau Sefydliad Iechyd y byd, a orfodir gan Asiantaeth Ansawdd Aer newydd. Bydd y Ddeddf yn cynnwys yr hawl gyfreithiol i aer anllygredig lle bynnag rydych yn byw.
- Cludo mwy o nwyddau ar y rheilffyrdd yn hytrach na'r ffyrdd, gan gynnwys trydaneiddio llinellau sy'n arwain o borthladdoedd mawr ar frys, a diwygio'r ardoll defnyddwyr ffyrdd cerbydau nwyddau trwm (HGV) bresennol i ystyried allyriadau carbon.
- Cefnogi arloesedd mewn technolegau dim allyriadau, gan gynnwys batris a chelloedd tanwydd hydrogen, ac ategu cyllid y llywodraeth gan Gronfa Aer Glân newydd gan ddiwydiant.
- Lleihau effaith hedfan ar yr hinsawdd trwy ddiwygio'r ffordd y mae teithiau hedfan rhyngwladol yn cael eu trethu er mwyn canolbwyntio ar y rhai sy'n hedfan amlaf, ar yr un pryd â lleihau costau i'r rhai sy'n mynd ar un neu ddwy daith hedfan ddwyffordd ryngwladol y flwyddyn, gosod moratoriwm ar ddatblygu rhedfeydd newydd (net) yn y DU, gwrthwynebu unrhyw estyniad i Heathrow, Gatwick neu Stansted ac unrhyw faes awyr newydd yn Aber Tafwys, a chyflwyno gofyniad cymysgu tanwyddau di-garbon ar gyfer teithiau hedfan domestig.

Datblygu polisi meysydd awyr strategol ar gyfer y DU gyfan. Byddwn yn canolbwyntio ar wella meysydd awyr rhanbarthol presennol, ac yn annog, yn arbennig, datblygu maes awyr Caerdydd. Byddwn yn sicrhau nad oes cynnydd net mewn rhedfeydd ledled y DU.

## Gwella Rheilffyrdd Cymru

Mae llawer iawn o le i wella rheilffyrdd Prydain, gan ddarparu gwasanaethau trên dibynadwy a fforddiadwy a lleihau allyriadau. Mae obsesiynau ideolegol y Torïaid a Llafur – y cyntaf â phreifateiddio, yr olaf â gwladoli – yn rhwystro gwelliannau go iawn trwy fuddsoddi a rheoleiddio. Byddwn ni'n gwella'r rheilffyrdd, yn diwygio'r system fasnachfreinio ac yn gwella gwasanaethau i gwsmeriaid. Byddwn yn:

- Ymestyn rhwydwaith rheilffyrdd Prydain, yn gwella gorsafoedd, yn ailagor gorsafoedd llai ac yn adfer llinellau trac deuol i brif lwybrau.
- Trosi'r rhwydwaith rheilffyrdd i dechnoleg allyriadau isel iawn (trydan neu hydrogen) erbyn 2023, a darparu cyllid ar gyfer rheilffyrdd cul a thramiau.
- Rhoi £62m ychwanegol y flwyddyn i Gymru o ganlyniad i'n hymrwymiad i drafnidiaeth lân yn Lloegr.

- Cyflwyno cwmni o fath newydd – Cwmni Buddiannau Cyhoeddus – y bydd ei gyfansoddiad yn rhoi blaenoriaeth i gyflawni budd i'r cyhoedd ar draul gwneud elw. Bydd y cwmnïau hyn yn gwneud penderfyniadau er budd y bobl sy'n defnyddio trenau yn hytrach na chyfranddalwyr.
- Bod yn fwy rhagweithiol o lawer wrth gosbi ac, yn y pen draw, diswyddo gweithredwyr os nad ydynt yn darparu gwasanaeth cyhoeddus o ansawdd uchel i'w cwsmeriaid, a defnyddio pwerau'r Ysgrifennydd Gwladol i wneud hyn os bydd angen.
- Sicrhau bod masnachfreiniau rheilffyrdd newydd yn cynnwys pwyslais cryfach ar gwsmeriaid, a chwblhau rhaglen o fuddsoddi mewn gorsafoedd, llinellau a chyfleusterau gorsaf newydd ar frys. Parhau â'r rhaglen Mynediad i Bawb, gan wella mynediad pobl anabl i drafnidiaeth gyhoeddus fel blaenoriaeth.

## Sut mae'r UE yn helpu

Mae'r newid yn yr hinsawdd yn broblem fyd-eang ac mae angen i ni weithio'n agos gyda phartneriaid i fynd i'r afael â hi. Yr UE yw'r bloc rhyngwladol sydd wedi ymrwymo fwyaf i ymladd yn erbyn y newid yn yr hinsawdd, ac mae gweithio gydag ef yn cryfhau llais y DU yn sylweddol. Mae'r UE hefyd yn gosod a gorfodi safonau amgylcheddol y DU fel bod y llywodraeth yn cael ei dal i gyfrif am beidio â'u cyrraedd. Mae hyn wedi cael ei ddefnyddio'n effeithiol iawn i amlygu ansawdd aer gwael yn y DU.

Y DU yw un o'r gwledydd arweiniol yn y byd ar gyfer diwydiant gwyrdd a swyddi gwyrdd. Roedd hyn yn bosibl oherwydd ein safle yn yr UE: sy'n darparu mynediad parod at gronfa o wyddonwyr arbenigol sy'n ymchwilio i dechnolegau newydd, cadwyni cyflenwi sy'n ymestyn ar draws yr UE a rhwyddineb mynediad at farchnad allforio ryngwladol fawr.

Mae'r UE hefyd yn cyflawni rôl bwysig wrth gefnogi ffermwyr, gwarchod cefn gwlad ac amddiffyn anifeiliaid. O dan y Polisi Amaethyddol Cyffredin, mae ffermwyr y DU yn cael cymhorthdal incwm y mae mawr angen amdano; mae cyllid yr UE hefyd yn cefnogi cynlluniau datblygu gwledig a gwella'r amgylchedd. Yn ogystal â hyn, mae rhwyddineb masnachu â'r UE yn darparu marchnad allforio enfawr i ffermwyr Prydain. Mae hawliau anifeiliaid yn y DU wedi'u seilio'n gyfan gwbl ar gyfraith yr UE hefyd: mae tua 80% o ddeddfwriaeth y DU ar hawliau anifeiliaid yn dod o'r UE.



Mae'r DU yn dibynnu'n drwm ar weithwyr yr UE i sicrhau lles anifeiliaid. Mae tua hanner y milfeddygon sy'n cofrestru i ymarfer yn y DU bob blwyddyn, a mwy na 90% o'r Milfeddygon Swyddogol sy'n gweithio mewn lladd-dai, yn wladolion yr UE nad ydynt yn dod o'r DU.



# Ein Cynllun ar gyfer Iechyd a Gofal Cymdeithasol

Rydym yn cydnabod bod pwerau dros redeg y GIG wedi'u datganoli i Lywodraeth Cymru, ond eto mae penderfyniadau ar iechyd a wneir yn Lloegr yn effeithio ar lawer o bobl yng Nghymru. Felly, mae'r polisïau hyn yn egluro gweledigaeth a blaenoriaethau Democratiaid Rhyddfrydol Cymru ar gyfer sut y dylai GIG Cymru gyflawni ar gyfer cleifion.

Roedd Gwasanaeth Iechyd Gwladol Prydain yn arfer bod yn destun cenfigen ledled y byd.  Fe'i darparwyd am ddim ac ar sail angen, nid y gallu i dalu, a darparwyd gofal o ansawdd uchel i'r cyfoethog a'r tlawd fel ei gilydd. Ond 70 mlynedd ar ôl ei sefydlu, mae'r GIG yn wynebu argyfwng. Mae obsesiwn y llywodraeth Geidwadol â chyni a chrebachu rôl y wladwriaeth wedi methu'n systematig â rhoi'r cyllid sydd ei angen i Lywodraeth Cymru ariannu'r GIG yng Nghymru yn briodol. Mae hyn wedi gadael GIG Cymru heb yr adnoddau y mae arbenigwyr annibynnol yn dweud sydd eu hangen er mwyn i'r gwasanaeth ymdopi â newidiadau mewn disgwyliad oes a phatrymau afiechyd a galw cynyddol am wasanaethau.

Mae iechyd da yn rhagofyniad ar gyfer manteisio i'r eithaf ar gyfleoedd bywyd, a rhaid i ni wneud popeth o fewn ein gallu i helpu pobl i gadw'n iach, yn ogystal â darparu gofal o ansawdd uchel pan fyddant yn sâl. Mae iechyd meddwl yr un mor bwysig ag iechyd corfforol a rhaid i ni ei gwneud yn flaenoriaeth i sicrhau cydraddoldeb rhwng y ddau. Rydym yn byw'n hirach, ond mae hynny'n golygu bod mwy o bobl yn byw â chyflyrau fel diabetes a dementia, ac mae arnynt angen help i fyw gydag urddas a'r graddau mwyaf o annibyniaeth. Rhaid i ni osod y safonau uchaf mewn gofal ac annog cydweithredu effeithiol rhwng gwasanaethau iechyd a gwasanaethau cymdeithasol. Byddwn yn gweithio i wella ffactorau ehangach fel cartrefi cynnes, ansawdd aer da a mynediad i ymarfer corff a bwyd iach fel y gall pawb gael y cyfle gorau i fyw bywyd iach.

## Cyllid ar gyfer Iechyd a Gofal Cymdeithasol

Mae gan Lywodraeth y DU ran bwysig i'w chwarae o ran rhoi'r adnoddau sydd eu hangen i'r GIG yng Nghymru fel y gellir darparu'r gofal y mae'r bobl yn ei haeddu.

Mae gan Lywodraeth y DU gyfrifoldeb i ddarparu cyllideb i Lywodraeth Cymru sy'n rhoi cyfle i Lywodraeth Cymru ariannu iechyd a gofal cymdeithasol yn briodol. Er bod Llywodraeth y DU wedi cydnabod yn hwyr yr argyfwng o fewn y GIG, nid yw wedi bod yn onest ynghylch cyllid ac mae wedi methu darparu adnoddau digonol i Lywodraeth Cymru ariannu gofal cymdeithasol a gwasanaethau lleol y GIG yn briodol.

Mae Democratiaid Rhyddfrydol Cymru yn cydnabod mai gwasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol Prydain yw ein sefydliadau cenedlaethol mwyaf gwerthfawr. Dylai unrhyw blaid sydd â'r nod o arwain y wlad ar ôl yr etholiad hwn fod yn barod i gymryd camau beiddgar i'w diogelu. Nid mater o wneud y peth hawsaf yw hyn, ond gwneud yr hyn sy'n gywir a'r hyn sy'n hanfodol.

Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn gosod ein system iechyd a gofal cymdeithasol yn ôl ar sylfaen ariannol gynaliadwy trwy:

- Gynnydd o 1c, ar unwaith, ar gyfraddau Treth Incwm sylfaenol, uwch ac ychwanegol. Bydd hyn yn codi £7 biliwn y flwyddyn i'r DU.
- Byddai'r gwariant ychwanegol ar iechyd yn Lloegr y byddai'r cyllid hwn yn ei alluogi yn arwain at bron i £400m y flwyddyn yn fwy i Gymru. Byddem yn annog Llywodraeth Cymru i wario'r cyllid hwn ar iechyd a gofal cymdeithasol yng Nghymru.
- Credwn mai'r defnydd gorau ar gyfer unrhyw gyllid iechyd ychwanegol yw trawsnewid iechyd meddwl trwy ei drin â'r un brys ag iechyd corfforol.
- Yn y tymor hwy ac i ddisodli'r cynnydd o 1c mewn Treth Incwm, byddwn yn comisiynu datblygiad Treth Iechyd a Gofal bwrpasol ar sail ymgynghori eang, o bosibl yn seiliedig ar ddiwygio Cyfraniadau Yswiriant Gwladol, a fydd yn dod â gwariant ar y ddau wasanaeth ynghyd mewn cyllideb ar y cyd, ac a fydd yn nodi'n dryloyw, ar slipiau cyflog pobl, yr hyn rydym yn ei wario arnynt.
- Sefydlu confensiwn iechyd a gofal cymdeithasol trawsbleidiol ledled y DU. Dod â grwpiau cleifion, gweithwyr proffesiynol o fewn y system iechyd a gofal cymdeithasol, y cyhoedd, a rhanddeiliaid o bob plaid wleidyddol ynghyd. Byddai'r confensiwn hwn yn cynnal adolygiad cynhwysfawr o gynaliadwyedd tymor hwy o ran cyllid a gweithlu iechyd a gofal cymdeithasol, ymarferoldeb cyflawni gofal cydgysylltiedig, a sut i wneud i'r system gefnogi gofalwyr anffurfiol yn well. Byddwn yn gwahodd llywodraethau Cymru, yr Alban a Gogledd Iwerddon i fod yn rhan o'r gwaith hwn.



- Hefyd, byddwn yn parhau i ddadlau o blaid ein comisiwn trawsbleidiol iechyd a gofal cymdeithasol ein hunain yng Nghymru, gan ddod â rhanddeiliaid ynghyd i adolygu cynaliadwyedd o ran cyllid a gweithlu ym maes iechyd a gofal cymdeithasol yng Nghymru ac i archwilio ymarferoldeb integreiddio ehangach. Pe byddem yn gallu sefydlu ein confensiwn ledled y DU a'n comisiwn ar gyfer Cymru, byddem yn disgwyl i'r ddau weithio'n llawn â'i gilydd ynghylch cynaliadwyedd ariannol.

## Iechyd Meddwl Gwell

Mae un o bob pedwar person yn profi problem iechyd meddwl mewn unrhyw flwyddyn benodol. Am gyfnod rhy hir, mae iechyd meddwl wedi cael ei stigmateiddio a'i anwybyddu. Credwn yn gryf y dylid ystyried iechyd meddwl yr un mor ddifrifol ag iechyd corfforol ac rydym yn benderfynol o roi iddo'r sylw cyfartal y mae'n ei haeddu. Gwyddom nad oes digon o adnoddau yn cyrraedd gwasanaethau rheng flaen, ac yn y frwydr dros gydraddoldeb o ran parch, mae ffordd bell iawn i fynd.

Yn hanesyddol, mae gwasanaethau iechyd meddwl wedi cael eu hesgeuluso'n wael a'u tanariannu yn y GIG. Ni fydd cyhoeddiadau diweddar Llywodraeth Geidwadol y DU am gyllid newydd ar gyfer y GIG yn rhoi'r adnoddau sydd eu hangen ar Lywodraeth Cymru i wario digon ar iechyd meddwl.

Dyna pam mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn credu bod angen i ni roi 1c yn y £ ar dreth incwm. Mater i Lywodraeth Cymru ei benderfynu byddai sut y dylid gwario'r refeniw ychwanegol. Fodd bynnag, byddem yn annog Llywodraeth Cymru i wario'r arian hwn ar wasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol ac i neilltuo cyfran ohono ar gyfer iechyd meddwl. Byddwn yn pwyso am:

- Gyllid ychwanegol o'r cynnydd o geiniog mewn treth incwm i'w ddefnyddio i ddarparu buddsoddiad ychwanegol mewn gwasanaethau iechyd meddwl.
- Cyflwyno safonau ar gyfer mynediad ac amseroedd aros a buddsoddi mewn mynediad i therapïau fel Therapi Ymddygiad Gwybyddol, Cwnsela a Seicotherapi Rhyngbersonol.
- Cefnogaeth iechyd meddwl well ar gyfer menywod beichiog, mamau newydd a'r sawl sydd wedi profi camesgoriad neu farw-enedigaeth.
- Concordat Gofal mewn Argyfwng cryfach a chefnogaeth ddilynol well ar gyfer

pobl sy'n mynychu adrannau Damweiniau ac Achosion Brys ar ôl hunan-niweidio neu ymgais i gyflawni hunanladdiad.

- Safonau newydd ar gyfer amseroedd aros a gofal gwell mewn argyfwng, mewn adrannau Damweiniau ac Achosion Brys, yn y gymuned, a thrwy linellau ffôn, er mwyn sicrhau nad oes unrhyw un sydd mewn argyfwng yn cael eu troi i ffwrdd. Bydd hyn yn ein galluogi i roi diwedd ar y defnydd o gelloedd yr heddlu ar gyfer pobl sy'n wynebu argyfwng iechyd meddwl.
- Rhoi diwedd ar leoliadau y tu allan i'r ardal, gan sicrhau bod y sawl sy'n cael eu derbyn i'r ysbyty oherwydd salwch meddwl yn gallu cael eu trin yn agos i'w cartref.
- Darparu hyfforddiant gwell mewn iechyd meddwl i bob gweithiwr proffesiynol y gwasanaethau cyhoeddus rheng flaen, gan gynnwys mewn ysgolion a phrifysgolion.
- Gwasanaethau iechyd meddwl cynhwysol ar gyfer pobl LHDT+, â'r cyllid a'r gefnogaeth sydd eu hangen arnynt.

Mae ymchwil feddygol yn hanfodol ar gyfer datblygu triniaethau newydd a gwell. Byddwn yn brwydro yn erbyn y bygythiad, sy'n deillio o Brexit, i gyllid ar gyfer ymchwil feddygol. Rydym yn cefnogi'r egwyddor y dylid canolbwyntio cyfran deg o'r holl arian cyhoeddus ar gyfer ymchwil feddygol ar ymchwil ym maes salwch meddwl.

Gwyddwn fod cysylltiad cryf rhwng dyled ariannol a hunanladdiad, gyda dros 100,000 o bobl mewn dyled broblemus yn ceisio lladd eu hunain bob blwyddyn. Bydd llywodraeth y Democratiaid Rhyddfrydol yn creu diwylliant mwy tosturiol tuag at y sawl sydd mewn dyled trwy roi diwedd ar arferion bygythiol wrth gasglu dyledion ac atal cwmnïau rhag elwa ar iechyd meddwl gwael defnyddwyr.
Mae 340,000 o gamblwyr problemus yn y DU, gan gynnwys tua 55,000 o blant rhwng 11 oed a 16 oed. Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn cyflwyno camau pellach i ddiogelu unigolion, eu teuluoedd a'u cymunedau rhag gamblo problemus. Byddwn yn:

- Cyflwyno ardoll orfodol ar gwmnïau gamblo i ariannu ymchwil ac addysg yn y maes a thrin gamblo problemus.
- Gwahardd defnyddio cardiau credyd ar gyfer gamblo.
- Cyfyngu ar hysbysebu gamblo.
- Sefydlu Ombwdsmon Gamblo.



## Cefnogi ein Gweithlu

Adnodd gorau ein gwasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol yw eu staff, sy'n gweithio'n ddiflino o dan bwysau aruthrol. Byddwn yn:

- Gwarantu'r hawl i aros yn y DU i holl staff y GIG a gwasanaethau gofal cymdeithasol sy'n ddinasyddion yr UE.
- Rhoi diwedd ar rewi cyflogau'r sector cyhoeddus yn achos gweithwyr y GIG.
- Amddiffyn chwythwyr chwiban o fewn y GIG a chyflwyno llinell gymorth chwythu chwiban ar gyfer GIG Cymru.

Mae meddygon teulu yn arbennig wedi cael eu rhoi o dan straen sylweddol, ac mae llawer o bobl yn gorfod aros am wythnosau i gael apwyntiadau. Meddygon teulu yw craidd y GIG ac mae angen cefnogaeth arnynt er mwyn sicrhau bod y GIG yn gallu goroesi a ffynnu.

Rydym yn cydnabod mai gwasanaethau gofal sylfaenol gwledig a Chymraeg, sef gwasanaethau sy'n chwarae rhan hanfodol yn eu cymunedau, yw'r gwasanaethau mwyaf bregus yn aml. Rydym eisiau:

- Strategaeth gweithlu genedlaethol, sy'n sicrhau na fyddwn byth eto'n gweld prinder yn nifer y meddygon teulu, meddygon ysbytai, nyrsys a gweithwyr proffesiynol eraill sydd eu hangen ar y GIG.
  - Cynllun Mynediad i Feddygon Teulu, gan ariannu meddygfeydd er mwyn sicrhau bod pobl yn gallu cael yr apwyntiadau sydd eu hangen arnynt.
  - Ei gwneud yn haws i gofrestru mewn meddygfa ger eich gweithle.
  - Datblygu ffyrdd amgen, gan ddefnyddio technoleg fodern, i gysylltu meddygon teulu a chleifion.
- Cefnogi ffederasiynau a chlystyrau o feddygon teulu i gael pwerau gwirioneddol o ran gwneud penderfyniadau, a chyllidebau dirprwyedig.

## Help i Aros yn Iach

Mae'n well i gleifion ac i'r GIG os ydym yn cadw pobl yn iach yn y lle cyntaf, yn hytrach nag aros hyd nes bod pobl yn datblygu salwch ac yn dod am driniaeth. Mae gormod o wariant y GIG yn mynd ar afiechydon y gellir eu hatal. Mae angen i ni wneud mwy i hyrwyddo bwyta'n iach ac ymarfer corff, gan wneud pobl yn

ymwybodol o beryglon ysmygu a gor-ddefnyddio alcohol a chyffuriau eraill, a helpu i wella iechyd meddwl a lles. Byddwn yn:

- Datblygu strategaeth i fynd i'r afael â gordewdra ymysg plant, gan gynnwys cyfyngu ar farchnata bwyd sothach i blant, cyfyngu ar hysbysebu ar y teledu cyn y trothwy 9pm, a chau bylchau yn y dreth ar ddiodydd llawn siwgr.
- Annog y system labelu goleuadau traffig ar gyfer cynhyrchion bwyd, a chyhoeddi gwybodaeth am galorïau, braster, siwgr a halen mewn bwytai a siopau tecawê.
- Cyflwyno targedau gorfodol ar leihau siwgr ar gyfer cynhyrchwyr bwydydd a diodydd.
- Gostwng cyfraddau ysmygu, gan gyflwyno ardoll ar gwmnïau tybaco fel eu bod yn cyfrannu'n deg at gostau gofal iechyd a gwasanaethau rhoi'r gorau i ysmygu.
- Cyflwyno isafbris uned ar gyfer alcohol, gan nodi effaith y polisi yn yr Alban.
- Cefnogi arferion da ymhlith cyflogwyr o ran hyrwyddo lles a sicrhau bod pobl â phroblemau iechyd meddwl yn cael yr help sydd ei angen arnynt i aros mewn gwaith neu ddod o hyd i waith. Rydym eisiau:

- Symud tuag at system iechyd a gofal cymdeithasol sy'n grymuso ac yn annog pobl i reoli eu hiechyd a'u cyflyrau eu hunain yn well ac i fyw bywydau iachach.
- Cefnogi ymgyrchoedd ymwybyddiaeth gyhoeddus effeithiol a dysgu o'r hyn sy'n gweithio wrth gynllunio ymgyrchoedd hybu iechyd newydd i newid ymddygiad.
- Datblygu ymgyrch iechyd cyhoeddus sy'n hyrwyddo'r camau y gall pobl eu cymryd i wella eu gwytnwch meddyliol eu hunain.

Mae camau newydd diweddar i ganiatáu defnydd cyfyngedig o ganabis meddyginiaethol yn rhy gaeth, gan fod y Llywodraeth yn cael ei gyrru gan ofn yn hytrach na thystiolaeth. Yn hytrach na gweithredu safon wahanol o dystiolaeth ar gyfer canabis, na ddefnyddir ar gyfer cynhyrchion meddyginiaethol eraill, mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn credu y dylem gael ein harwain gan yr hyn sy'n darparu budd clinigol i gleifion, a diwygio mynediad i ganabis meddyginiaethol trwy farchnad reoledig ar gyfer canabis yn y DU, gydag agwedd gadarn tuag at drwyddedu.

Er mwyn brwydro yn erbyn y niwed a achosir gan gyffuriau, byddwn yn:

- Symud yr arweinyddiaeth adrannol ar bolisi cyffuriau i'r Adran Iechyd.
- Dargyfeirio pobl i driniaeth pan fyddant yn cael eu harestio am fod â chyffuriau



yn eu meddiant at ddefnydd personol, a gosod cosbau sifil yn hytrach na charcharu.

- Torri gafael y gangiau troseddol ac amddiffyn pobl ifanc trwy gyflwyno marchnad gyfreithlon, reoledig ar gyfer canabis. Byddem yn cyflwyno cyfyngiadau ar gryfder ac yn  caniatáu i ganabis gael ei werthu trwy allfeydd trwyddedig i oedolion dros 18 oed.
- Canolbwyntio ar ddal ac erlyn y sawl sy'n cynhyrchu, mewnforio neu'n gwerthu cyffuriau anghyfreithlon.
- Diddymu'r Ddeddf Sylweddau Seicoweithredol sydd wedi gyrru i'r dirgel werthiant cyffuriau a fu gynt yn gyfreithlon.
- Cymryd camau cadarn i atal y masnachu pobl sy'n chwarae rhan fawr mewn cynhyrchu cyffuriau anghyfreithlon yn y DU.

Credwn fod gan bawb yr hawl i wneud eu penderfyniadau annibynnol o ran eu hiechyd atgenhedlu heb ymyrraeth gan y wladwriaeth, a bod mynediad i ofal iechyd atgenhedlu yn hawl ddynol, fel y cadarnhawyd yn ddiweddar gan y Goruchaf Lys mewn perthynas â Gogledd Iwerddon. Nid yw'n briodol bod ysgogi erthyliad yn drosedd ledled y DU ar hyn o bryd, (er bod Deddf Erthylu 1967 yn darparu eithriadau i'r drosedd o weithredu neu gaffael erthyliad yng Nghymru, Lloegr a'r Alban, ac mae cyfraith gyffredin yn caniatáu rhai eithriadau yng Ngogledd Iwerddon) . Mae nifer o sefydliadau meddygol, gan gynnwys Coleg Brenhinol y Bydwragedd, Coleg Brenhinol yr Obstetregwyr a Gynaecolegwyr a Chymdeithas Feddygol Prydain, yn cefnogi trin erthylu fel mater yn ymwneud â rheoleiddio meddygol yn hytrach na throsedd. Byddwn yn:

- Dad-droseddoli erthylu trwy ddiddymu adrannau 58 a 59 Deddf Troseddau yn erbyn y Person 1861, ond gan gadw Deddf Bywyd Babanod (Diogelu) 1929 a'r fframwaith ar gyfer eithriadau a nodir yn Neddf Erthylu 1967; byddai unrhyw newidiadau i'r ddeddfwriaeth yn parhau i gynnwys terfyn presennol o 24 wythnos.
- Darparu cyllid fel bod defnyddwyr gwasanaethau gofal iechyd atgenhedlu yn cael digon o gyngor arbenigol i wneud penderfyniadau hollol wybodus.
- Gorfodi parthau diogel o amgylch darparwyr gwasanaethau erthylu fel y gall y sawl sy'n ymweld â'r rhain deithio atynt yn rhydd rhag unrhyw aflonyddwch neu bwysau ar eu penderfyniad, a gwneud bygwth neu aflonyddu ar ddefnyddwyr gwasanaethau erthylu y tu allan i glinigau, neu ar lwybrau trafnidiaeth cyffredin i'r gwasanaethau hyn, yn anghyfreithlon.

- Darparu cyllid i alluogi clinigau erthylu i ddarparu eu gwasanaethau am ddim i ddefnyddwyr gwasanaethau, ni waeth beth yw eu cenedligrwydd neu eu preswyliad o ran gwlad, gan ddefnyddio meini prawf darpariaeth safonol y GIG.
- Cefnogi pobl Gogledd Iwerddon i gael mynediad i gyfleusterau erthylu o fewn eu rhanbarth eu hunain.

## Sut mae'r UE yn helpu?

Mae dinasyddion yr UE yn gwneud cyfraniad enfawr i wasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol y DU. Mae cyfran sylweddol o feddygon, nyrsys a gweithwyr gofal cymdeithasol yng Nghymru yn ddinasyddion yr UE ac mae'r nifer yn gostwng ers refferendwm yr UE.

Mae aelodaeth o'r UE o fudd i wasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol mewn ffyrdd eraill hefyd. Mae'r UE yn ariannu ymchwil i driniaethau newydd ar gyfer afiechydon ac yn rhoi mynediad i'r DU i driniaethau blaengar ar y cyfle cyntaf. Mae'r UE yn darparu cydgysylltu pwysig o ran rheoli pandemigau, ac mae'n rhaid i hyn fod yn ymdrech drawsffiniol. Yn ogystal, mae'r Cerdyn Iechyd Ewropeaidd yn golygu y gall dinasyddion y DU dderbyn triniaeth feddygol yn hawdd pan maent yn ymweld â gwledydd eraill yn yr UE.

Mae'r DU yn mewnforio nifer fawr o nwyddau meddygol o'r UE sy'n hanfodol ar gyfer trin afiechydon: rydym yn dibynnu ar ein haelodaeth o Euratom i gael mynediad i'r isotopau ymbelydrol y dibynnir arnynt ar gyfer canfod canser, rydym yn dibynnu ar fewnforion plasma gwaed o'r UE, na ellir eu disodli gan blasma o'r DU oherwydd y risg o glefyd amrywiolyn Creutzfeldt-Jakob, ac mae'r DU yn dibynnu ar yr UE am inswlin hefyd. Mae aelodaeth o'r UE – ac Euratom – yn helpu i amddiffyn iechyd a lles pobl yn y DU.



# Ein Cynllun ar gyfer Creu Cymdeithas Deg

Dylai pobl fod â digon o arian i gadw to uwch eu pennau, prynu bwyd, cynhesu eu cartref, cael mynediad i wasanaethau a chyfleoedd ar-lein, neu fforddio taith fws syml i ymweld â theulu neu ofalu am aelodau'r teulu. Ond yn anffodus, mae hyn y tu hwnt i gyrraedd gormod o bobl: mae bywyd wedi dod yn anfforddiadwy. Er bod y DU yn un o wledydd cyfoethocaf y byd, mae'r buddion a'r cyfleoedd ddylai ddilyn o hynny yn cael eu teimlo'n fwyfwy anwastad ar draws ein cymunedau.

Mae mwy nag un o bob pump (23%) o bobl yng Nghymru bellach yn byw mewn tlodi; gan gynnwys mwy nag un o bob pedwar (29%) o blant. Mae nifer y bobl sy'n cysgu allan yn parhau i gynyddu wrth i ragor o bobl gael eu gorfodi i fyw mewn llety anniogel neu anaddas ac mae niferoedd cynyddol yn wynebu rhenti anfforddiadwy ac ôl-ddyledion rhent. Mae'r sefyllfa mor wael fel y teimlodd y Cenhedloedd Unedig yr angen i anfon Rapporteur Arbennig ar dlodi eithafol i'r DU i asesu'r sefyllfa.

Nid yw Llafur na'r Ceidwadwyr yn gallu mynd i'r afael â'r heriau hyn. Mae'r Ceidwadwyr wedi cynllunio'r system les yn fwriadol ar gyfer teuluoedd traddodiadol gyda phrif enillydd cyflog a dau blentyn, sy'n anghydnaws â'r byd modern. Mae gan Lafur gysylltiad hiraethus â bywyd gwaith naw-i-bump nad yw'n gweddu i fywyd modern ychwaith, gan fod mwy a mwy o aelwydydd yn cynnwys dau enillydd cyflog ac mae pobl eisiau gallu gweithio'n hyblyg.

Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sydd â chynllun i fynd i'r afael â thlodi ac anghydraddoldeb sy'n gwneud synnwyr yn y byd modern. Cynllun a fydd yn golygu system nawdd cymdeithasol sy'n darparu rhwyd ddiogelwch wirioneddol ar gyfer y sawl sydd ei hangen, ac sy'n cefnogi pobl yn effeithiol i ddychwelyd i'r gwaith; cynllun a fydd yn cefnogi pobl anabl ac yn eu helpu i ddod o hyd i waith ystyrlon y gallant ei wneud yn rhesymol; cynllun a fydd yn ail-gydbwyso'r economi ac yn helpu cymunedau gwledig ac arfordirol i ffynnu; cynllun a fydd yn sicrhau - lle bynnag y bo pobl o fewn y wlad - bod ganddynt fynediad i'r gwasanaethau sydd eu hangen arnynt. Byddwn yn creu dyfodol lle caiff pobl eu cefnogi mewn amseroedd caled a lle y caiff cyfleoedd eu lledaenu ledled yr holl wlad.

Mae pwysigrwydd mynd i'r afael â thlodi ac anghydraddoldeb yn mynd y tu hwnt i sicrhau bod bywyd yn fforddiadwy: y bobl a'r ardaloedd tlotaf a mwyaf bregus sy'n cael eu heffeithio fwyaf gan droseddu. Credwn fod atal troseddu a sicrhau bod



pobl yn teimlo'n ddiogel yn hanfodol er mwyn sicrhau cyfiawnder cymdeithasol. Rydym eisiau creu gwasanaeth yr heddlu sy'n addas ar gyfer yr 21ain ganrif, lle mae swyddogion yr heddlu'n teimlo eu bod yn cael eu gwerthfawrogi ac yn gallu canolbwyntio ar leihau troseddu.
Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sydd â'r gallu i greu system cyfiawnder troseddol sy'n effeithiol o ran atal troseddu. Ers 25 mlynedd, mae'r Ceidwadwyr a Llafur wedi bod yn edrych tuag at ddulliau aflwyddiannus y gorffennol ac yn cystadlu i ymddangos fel petaent yn llym ar droseddu, heb fod yn barod i weithredu'r camau ataliol sy'n gweithio mewn gwirionedd. Byddwn yn creu cymunedau diogel lle nad oes angen i bobl ofni dioddef troseddau. Bydd ein cynllun ar gyfer yr heddlu yn gweld buddsoddiad mewn plismona cymunedol a dull iechyd cyhoeddus o ran atal trais difrifol. Yn hytrach na gwastraffu arian ar garcharu pobl ar ddedfrydau byr, sy'n aneffeithiol, byddwn yn gwario ar y pethau sydd wir yn atal troseddu.

**Ein blaenoriaethau yn y senedd nesaf fydd:**

- **Buddsoddi £6 biliwn y flwyddyn er mwyn gwneud i'r system fudd-daliadau weithio i'r bobl sydd ei hangen a lleihau'r cyfnod aros am y taliad budd-dal cyntaf o bum wythnos i bum niwrnod.**
- **Cyflwyno egwyddor o fynediad cyffredinol i wasanaethau sylfaenol.**
- **Creu Rhaglen Ail-gydbwyso Ranbarthol gwerth £50 biliwn i fynd i'r afael â'r gwahaniaethau hanesyddol mewn buddsoddiad rhwng ein cenhedloedd a'n rhanbarthau.**

## Rhwyd Ddiogelwch sy'n Gweithio

Nid yw'r system nawdd cymdeithasol yn gweithio fel y dylai: mae'n gyrru pobl ymhellach i dlodi ac yn gorfodi teuluoedd i ddibynnu ar fanciau bwyd . Mae'r Ceidwadwyr wedi dylunio'r system les yn seiliedig ar syniad o waith a theuluoedd sy'n edrych tua'r gorffennol, ac maent yn gwaethygu'r mater. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn edrych i'r dyfodol a byddwn yn creu system sy'n gweithio ar gyfer y byd modern i gefnogi'r sawl sydd angen cefnogaeth a helpu pobl yn ôl i weithio. Byddwn yn:

- Gwneud i'r system les weithio trwy:
  – Ostwng y cyfnod aros am y taliad cyntaf o bum wythnos i bum niwrnod.

  - Mynd i'r afael â thlodi plant trwy ddileu'r terfyn dau blentyn a'r terfyn ar fudd-daliadau.
  - Gwneud i waith dalu trwy gynyddu lwfansau gwaith a chyflwyno lwfans gwaith ail enillydd cyflog.
- Sefydlu hawl gyfreithiol i fwyd, er mwyn cynnwys o fewn y gyfraith cyfrifoldeb y llywodraeth i sicrhau bod polisi cyhoeddus presennol a newydd yn cael ei archwilio mewn perthynas â'r effaith ar sicrwydd o ran bwyd.
- Diwygio Credyd Cynhwysol i fod yn fwy cefnogol ar gyfer pobl hunangyflogedig.
- Cynyddu'r Lwfans Tai Lleol yn unol â rhenti cyfartalog mewn ardal.
- Diddymu'r dreth ystafell wely a chyflwyno cymhellion cadarnhaol i bobl symud i gartref llai o faint.
- Sicrhau bod pawb yn cael yr help sydd ei angen arnynt trwy wahanu cymorth cyflogaeth oddi wrth weinyddiaeth budd-daliadau a chynyddu'r gwariant ar hyfforddiant ac addysg.
- Cael gwared ar y system sancsiynau, nad yw'n annog pobl i weithio, sy'n cosbi pobl â phroblemau iechyd meddwl ac sy'n atal pobl rhag hawlio cefnogaeth, a rhoi cynllun sy'n seiliedig ar gymhelliant yn lle hynny.
- Gwrthdroi'r toriadau i'r Lwfans Cyflogaeth a Chymorth i'r bobl sydd yn y grŵp gweithgaredd cysylltiedig â gwaith.
- Rhoi diwedd ar Asesiadau Gallu i Weithio a gosod system newydd yn eu lle sy'n cael ei rhedeg gan awdurdodau lleol ac sy'n seiliedig ar brofion y byd go iawn.
- Adfer y Gronfa Byw'n Annibynnol.
- Diwygio'r Lwfans Profedigaeth yn ei hanfod, a gwtogwyd yn llym gan y Ceidwadwyr, fel bod gwragedd a gwŷr gweddw yn derbyn llawer mwy o gefnogaeth, ac ymestyn y taliadau i barau dibriod pan fydd rhiant yn marw.
- Treialu gwarant incwm sicr i brofi effaith cyflwyno elfen ddiamod i'r system fudd-daliadau.
- Anelu at ddod â thlodi tanwydd i ben erbyn 2025 trwy ddarparu ôl-osodiadau ynni am ddim ar gyfer cartrefi incwm isel fel rhan o'n rhaglen frys i leihau'r defnydd o ynni yn holl adeiladau'r DU.

## Cefnogaeth ar gyfer Pensiynwyr

Dylai pawb fod â digon o arian i fyw arno pan fyddant yn ymddeol, ond mae cyflogau isel a thangyflogaeth yn golygu nad yw pobl yn gallu cynilo cymaint ag sydd ei angen arnynt ar gyfer eu hymddeoliad. Oherwydd bod pobl yn byw'n hirach – sy'n golygu bod angen i'w pensiynau fod yn ddigonol ar gyfer 20, 30 neu hyd yn oed 40 mlynedd – mae llawer o bobl yn cael eu hunain mewn sefyllfa fwy



bregus fyth. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn edrych i'r dyfodol a byddwn yn creu gwlad a fydd y lle gorau yn y byd i gynilo ar gyfer ymddeol, a'i fwynhau. Byddwn yn:

- Cadw'r Clo Triphlyg ar bensiwn sylfaenol y wladwriaeth, fel ei fod yn codi yn unol â'r cyflogau neu'r prisiau uchaf, neu 2.5 y cant.
- Sicrhau bod menywod a anwyd yn y 1950au yn cael eu digolledu'n briodol am fethiant y llywodraeth i'w hysbysu'n gywir am newidiadau i oedran pensiwn y wladwriaeth, yn unol ag argymhellion yr ombwdsmon seneddol.
- Mynd i'r afael ag anghydraddoldebau parhaus mewn cyfraith pensiynau ar gyfer y sawl sydd mewn perthnasoedd o'r un rhyw.

## Mynediad i Dai Fforddiadwy

Mae pobl yn ei chael hi'n anodd fforddio cartrefi da yn y lleoliad cywir: mae prisiau tai yn rhy uchel ac mae'r posibilrwydd o fod yn berchen ar gartref yn ymddangos y tu hwnt i gyrraedd llawer o bobl; mae'r farchnad rhentu preifat yn ddrud ac ansicr; ac nid oes digon o gartrefi ar gyfer rhentu cymdeithasol i ateb y galw.

Mae'r Ceidwadwyr, gan edrych yn ôl i'r 1980au, wedi ceisio datrys problem cartrefi anfforddiadwy trwy ymestyn yr Hawl i Brynu, ond mae hyn wedi gwneud dim ond cwtogi ar stoc a gwaethygu'r argyfwng ym maes tai cymdeithasol. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn edrych i'r dyfodol a byddwn yn goruchwylio rhaglen adeiladu sylweddol i sicrhau bod gan bawb gartref diogel. Byddwn yn:

- Helpu i ariannu'r cynnydd mawr mewn adeiladu cartrefi cymdeithasol gyda buddsoddiad o'n cyllideb cyfalaf seilwaith o £130 biliwn.
- Adeiladu tai newydd i safonau di-garbon a gostwng biliau tanwydd trwy raglen ddeng mlynedd i leihau'r defnydd o ynni yn holl adeiladau'r DU.

Mae prisiau tai yn uchel ledled y wlad. Hyd yn oed lle mae tai ar gael i'w prynu, yn aml maent yn anfforddiadwy i brynwyr tro cyntaf. Mewn sawl ardal, mae'r farchnad rhentu wedi dod yn anfforddiadwy hefyd. Mae angen cefnogaeth y llywodraeth ar bobl ifanc yn arbennig, i'w helpu i ddod o hyd i'w cartref eu hunain a'i gadw.

Mae tai yn fater sydd wedi'i ddatganoli i Lywodraeth Cymru, ond drwy'r Cytundeb Blaengar rhwng Kirsty Williams a Phrif Weinidog Cymru, rydym eisoes yn gwella mynediad i dai fforddiadwy yng Nghymru. Rydym yn:

- Adeiladu 20,000 o dai fforddiadwy ychwanegol yng Nghymru yn ystod y Cynulliad hwn.
- Gweithredu Model Rhentu i Berchnogi newydd; model lle mae tenantiaid, trwy daliadau rhent, yn dod i berchen ar gyfran gynyddol o'r eiddo ac yn cael cymorth ar gyfer perchnogaeth lwyr arno yn y pen draw.

Rydym yn cydnabod bod graddfa'r argyfwng tai yn gofyn am weithredu pellach. Pe byddem yn ffurfio Llywodraeth nesaf Cymru, byddem yn:

- Ymchwilio i faint o gartrefi ychwanegol y mae Cymru yn debygol o fod eu hangen dros y degawd nesaf ac archwilio sut, yn ymarferol, y gellid ateb y galw hwn a'i ariannu.
- Sicrhau bod cartrefi cymdeithasol newydd yn cael eu hadeiladu fel datblygiadau carbon isel a'u bod yn hygyrch.
- Cefnogi datblygiad cartrefi di-garbon er mwyn gostwng costau i breswylwyr a helpu i frwydro yn erbyn y newid yn yr hinsawdd.
- Sicrhau bod gan bob awdurdod lleol o leiaf un darparwr y model darpariaeth Tai yn Gyntaf ar gyfer pobl ddigartref hirdymor.

Yn ogystal, byddem yn diddymu'r Ddeddf Crwydradaeth pe byddem yn ffurfio Llywodraeth nesaf y DU, fel na fydd cysgu allan yn drosedd mwyach.

## Cymunedau Gwledig ac Arfordirol

Mae cymunedau gwledig yn hanfodol i gymeriad a chryfder Cymru. Mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol draddodiad hir o gynrychioli'r cymunedau hyn a deall eu hanghenion. Byddwn bob amser yn rhoi blaenoriaeth uchel i fuddiannau gwledig.

Dylai pobl mewn ardaloedd gwledig ac arfordirol allu gweithio a byw yn lleol, cael mynediad i rwydwaith trafnidiaeth integredig a ariennir yn dda, a chael mynediad cyfartal i'r dechnoleg newydd sy'n llunio bywyd yn yr 21ain ganrif. Fodd bynnag, mae hyn ymhell o fod yn realiti: mae'r nifer cynyddol o ail gartrefi a bythynnod gwyliau yn golygu bod diffyg cartrefi fforddiadwy ar gyfer y bobl sy'n gwneud i gymunedau weithio – sef athrawon, nyrsys, gofalwyr, gweithwyr amaethyddol, swyddogion yr heddlu a pherchnogion siopau, ymhlith eraill; fel arfer, mae trafnidiaeth wedi'i chyfyngu i wasanaeth bws drud, anaml ac annibynadwy; nid yw



gwasanaethau band eang a gwasanaethau ffôn symudol yn addas at y diben; ac mae gan bobl fynediad cyfyngedig i wasanaethau.

Mae llywodraethau Llafur a Cheidwadol wedi defnyddio cronfeydd llywodraeth ganolog mewn ffordd nad yw wedi dangos unrhyw bryder ynghylch ardaloedd gwledig ac arfordirol. Mae gwariant fesul person y llywodraeth yn is yn y cymunedau hyn, datblygir polisïau heb ystyried yn briodol sut y byddant yn gweithio mewn ardaloedd prin eu poblogaeth, ac mae buddsoddiad yn canolbwyntio'n glir ar ardaloedd prifddinesig.

Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n mynnu gwell ar gyfer cymunedau gwledig ac arfordirol: byddem yn sicrhau bod cymunedau gwledig yn gwasanaethu'r bobl sy'n byw ac yn gweithio ynddynt, yn hytrach na newydd-ddyfodiaid cyfoethog sydd wedi ymddeol a datblygwyr eiddo. I bobl sy'n byw yn yr ardaloedd hyn, rydym wedi ymrwymo i greu cymunedau ffyniannus sy'n arloesol, yn hyblyg, yn gydnerth ac yn barod ar gyfer y dyfodol.

Mae cymunedau gwledig ffyniannus angen gwasanaethau lleol a chyfleusterau cymunedol fel ysgolion, trafnidiaeth gyhoeddus, siopau lleol, lleoliadau diwylliannol a thafarndai. Mae angen digon o gartrefi sy'n fforddiadwy i deuluoedd lleol, er mwyn sicrhau bod y gwasanaethau hynny'n hyfyw. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn deall y newidiadau sydd eu hangen i gefnogi cefn gwlad byw a gweithgar.

- Buddsoddi £2 biliwn mewn datrysiadau arloesol i sicrhau bod gwasanaethau band eang cyflym yn cael eu darparu ledled y DU.
- Buddsoddi mewn seilwaith data symudol a'i ehangu i gynnwys pob cartref.
- Ymrwymo i atal cau Swyddfeydd Post a diogelu Rhwymedigaeth Gwasanaeth Cyffredinol y Post Brenhinol i ddosbarthu ledled y DU am yr un pris.

## Dull Iechyd Cyhoeddus o ymdrin â Thrais

Dylai pobl deimlo'n ddiogel yn eu cartrefi ac ar eu strydoedd. Ond nid dyma sut mae pethau i ormod o bobl heddiw: mae troseddau cyllyll wedi cynyddu dros 75 y cant ers 2015; mae lladdiadau ar eu cyfradd uchaf ers degawd; mae lladradau a dwyn ar gynnydd ac anaml iawn y caiff y troseddau hyn eu datrys; a cheir mwy a mwy o fannau yn y wlad lle nad yw pobl yn gweld unrhyw swyddogion yr heddlu.

Mae'r Ceidwadwyr, ar ôl gwneud toriadau diangen i gyllid yr heddlu yng Nghymru a Lloegr, bellach yn ceisio ymddangos yn llym ar droseddu ond heb wneud yr hyn sydd ei angen i'w atal mewn gwirionedd. Rydym yn deall bod angen mwy na siarad cadarn ar y sefyllfa: mae ein cynllun ni'n golygu mwy o swyddogion yr heddlu, gyda chefnogaeth briodol gan y llywodraeth, ac sy'n canolbwyntio ar blismona cymunedol sy'n atal troseddu ac yn gwneud i bobl deimlo'n ddiogel, a buddsoddi yn y gwasanaethau a fydd yn helpu pobl i greu bywydau yn rhydd o droseddu.

Credwn y dylai pwerau dros gyfiawnder ieuenctid, gwasanaethau prawf, carchardai a phlismona gael eu datganoli er mwyn galluogi Cymru i greu dull effeithiol, rhyddfrydol, cymunedol o blismona a mynd i'r afael â throseddu.

Hyd nes y caiff y pwerau hyn eu datganoli i Gymru, dyma ein blaenoriaethau ar gyfer plismona a chyfiawnder ar Lefel Llywodraeth y DU:

- Buddsoddi £1 biliwn ar adfer plismona cymunedol ledled Cymru a Lloegr, sef digon ar gyfer ddau swyddog newydd yr heddlu ym mhob ward.
- Mabwysiadu dull iechyd cyhoeddus o ymdrin â'r epidemig o drais ymhlith pobl ifanc: gan nodi ffactorau risg ac ymdrin â nhw, yn hytrach na chanolbwyntio ar y symptomau yn unig. Mae hyn yn golygu cael yr heddlu, athrawon, gweithwyr proffesiynol iechyd, gweithwyr ieuenctid a gwasanaethau cymdeithasol oll yn cydweithio'n agos i atal pobl ifanc rhag mynd yn ysglyfaeth i gangiau a thrais.
- Gosod Arbenigwyr Ymyrraeth Ieuenctid sy'n ystyried Trawma ym mhob Prif Ganolfan Trawma.
- Cyflwyno targed o awr ar gyfer trosglwyddo pobl sy'n dioddef o argyfwng iechyd meddwl o'r heddlu i wasanaethau iechyd meddwl, a chefnogi'r heddlu i sicrhau lefelau digonol o hyfforddiant o ran ymateb iechyd meddwl.
- Ariannu codiad cyflog o ddau y cant yn llawn ar unwaith ar gyfer swyddogion yr heddlu er mwyn cefnogi recriwtio a chadw swyddogion, gyda chodiadau cyflog yn y dyfodol yn unol ag argymhellion Corff Adolygu Cydnabyddiaeth Ariannol yr Heddlu, sy'n gorff annibynnol.
- Sicrhau adnoddau priodol ar gyfer yr Asiantaeth Troseddu Cenedlaethol i frwydro yn erbyn troseddu difrifol a chyfundrefnol, a mynd i'r afael â chaethwasiaeth fodern a masnachu pobl trwy orfodi safonau'r farchnad lafur yn rhagweithiol ar sail gwybodaeth.
- Creu Asiantaeth Troseddu Ar-lein newydd i fynd i'r afael yn effeithiol â chynnwys a gweithgarwch anghyfreithlon ar-lein, fel twyll personol, pornograffi dial, a



bygwth a chymell trais ar gyfryngau cymdeithasol.

- Rhoi diwedd ar y defnydd anghymesur o Stopio a Chwilio.
- Atal trais yn erbyn menywod a merched a cham-drin domestig, a chefnogi goroeswyr, trwy:
  - Gadarnhau Confensiwn Istanbwl a'i weithredu.
  - Deddfu ar gyfer diffiniad statudol o gam-drin domestig sy'n cynnwys yr effeithiau ar blant.
  - Ehangu nifer y llochesau a chanolfannau argyfwng trais.
  - Sicrhau cyllid cynaliadwy ar gyfer gwasanaethau cymorth arbenigol annibynnol.
  - Rhoi'r ddyletswydd a'r cyllid i awdurdodau lleol ddarparu llety ar gyfer goroeswyr camdriniaeth.
  - Sefydlu llinell gymorth argyfwng trais genedlaethol.
  - Sicrhau mynediad i fesurau arbennig ar gyfer goroeswyr ym mhob llys ac atal eu camdrinwyr rhag croesholi goroeswyr yn uniongyrchol.
- Sefydlu Byrddau Heddlu sy'n atebol ac sy'n cynnwys cynghorwyr lleol, i ddisodli Comisiynwyr Heddlu a Throseddu.
- Stopio Brexit a chynnal trefniadau ymladd troseddu Ewrop sy'n cadw pawb ohonom yn ddiogel, gan gynnwys: Europol, y Warant Arestio Ewropeaidd a mynediad uniongyrchol i gronfeydd data heddluoedd a rennir.

## Lleihau Aildroseddu

Dylai carchardai fod yn fannau ar gyfer adsefydlu: pan fydd pobl yn gadael carchar, dylent fod yn barod i ailintegreiddio i'r gymdeithas gyda gwaith a lle i fyw. Ond mae'r system garchardai mewn argyfwng ac nid yw'n cyflawni hyn: mae carchardai yn orlawn ac yn brin o staff, ac mae terfysgoedd, y defnydd o gyffuriau, hunanladdiad a thrais eithafol wedi dod yn llawer rhy gyffredin. Ers degawdau, mae llywodraethau Llafur a Cheidwadol wedi ailadrodd yr un polisïau aflwyddiannus, gan ysu i geisio ymddangos yn llym ar droseddu ond gan fethu darparu gwasanaethau'n briodol sy'n helpu pobl i greu bywydau yn rhydd o droseddu. Dim ond y Democratiaid Rhyddfrydol sydd â gweledigaeth ar gyfer gwneud i'r system gyfiawnder weithio. Yn hytrach na gwastraffu arian ar garcharu pobl ar ddedfrydau byr sy'n aneffeithiol, byddwn yn gwario ar y pethau sydd wir yn atal troseddu. Byddwn yn amddiffyn pobl rhag dod yn ddioddefwyr troseddau trwy ganolbwyntio ar yr hyn sy'n effeithiol o ran atal aildroseddu. Byddwn yn:

- Trawsnewid carchardai i fod yn fannau ar gyfer adsefydlu ac adfer, trwy recriwtio 2,000 yn fwy o swyddogion carchardai ledled Cymru a Lloegr, a gwella darpariaeth hyfforddiant, addysg a chyfleoedd gwaith.
- Lleihau nifer y bobl sydd yn y carchar yn ddiangen, trwy ddulliau sy'n cynnwys: cyflwyno rhagdybiaeth yn erbyn dedfrydau byr o garchar; rhoi'r gorau i ddedfrydau o garchar am feddiant cyffuriau at ddefnydd personol; a chynyddu'r defnydd o ddedfrydau cymunedol llym a chyfiawnder adferol lle bo hynny'n briodol.
- Sefydlu Bwrdd Cyfiawnder i Fenywod a darparu hyfforddiant arbenigol i'r holl staff sydd mewn cysylltiad â menywod yn y system cyfiawnder troseddol.
- Lleihau gorgynrychiolaeth pobl o gefndiroedd du ac Asiaidd a lleiafrifoedd ethnig ledled y system cyfiawnder troseddol, gan gynnwys trwy:
  - Gofnodi data yn gyson ar ethnigrwydd ledled y system cyfiawnder troseddol a chyhoeddi data cyflawn i alluogi dadansoddi a chraffu.
  - Cyflwyno egwyddor o "esbonio neu ddiwygio": os nad yw'r system cyfiawnder troseddol yn gallu esbonio gwahaniaethau rhwng grwpiau ethnig, yna mae'n rhaid diwygio'r system er mwyn mynd i'r afael â hyn.
  - Hyrwyddo mwy o amrywiaeth yn y system cyfiawnder troseddol trwy sicrhau bod yr heddlu, y gwasanaeth carchardai a'r farnwriaeth yn mabwysiadu targedau uchelgeisiol ar gyfer gwella amrywiaeth o fewn eu gweithlu, a'i gwneud yn ofynnol i gyflwyno adroddiadau rheolaidd ar gynnydd i'r senedd.
- Sicrhau cyllid priodol ar gyfer goruchwylio troseddwyr yn y gymuned a gwella'r gwasanaeth, gyda llawer mwy o gydgysylltu rhwng y gwasanaeth carchardai, darparwyr gwasanaethau prawf, y sectorau gwirfoddol a phreifat ac awdurdodau lleol, gan sicrhau arbedion wrth leihau costau uchel aildroseddu.
- Sicrhau bod pob person sy'n gadael carchar yn cael eu rhyddhau ar adeg briodol a bod ganddynt lety addas, cyfrif banc a swydd neu hyfforddiant wedi'i drefnu, a'u bod wedi'u cofrestru gyda meddyg teulu lleol.
- Gwella cefnogaeth a thriniaeth iechyd meddwl o fewn y system cyfiawnder troseddol a sicrhau parhad gofal iechyd meddwl a thriniaeth ar gyfer caethiwed i sylweddau yn y carchar ac yn y gymuned.
- Diwygio rheolau datgelu cofnodion troseddol fel nad oes rhaid i bobl ddatgan hen euogfarnau a mân euogfarnau amherthnasol, a dileu cwestiynau am euogfarnau troseddol o ffurflenni cais cychwynnol ar gyfer pob swydd yn y sector cyhoeddus.



# Ein Cynllun ar gyfer Rhyddid, Hawliau a Chydraddoldeb

Dylai pobl allu byw eu bywydau yn rhydd rhag unrhyw wahaniaethu neu ymyrraeth a heb ofni unrhyw darfu ar eu hawliau mwyaf sylfaenol. Ond nid dyma'r realiti yn y DU heddiw. Mae'r amgylchedd gelyniaethus wedi sathru'n annerbyniol ar hawliau pobl ac mae pobl yn parhau i ddioddef gwahaniaethu yn eu herbyn ar sail eu rhywedd, eu hil, eu hoedran, eu rhywioldeb, eu hunaniaeth o ran rhywedd, eu crefydd neu eu hanabledd. Mae anghydraddoldebau yn rhemp – mae plant o aelwydydd Du yn fwy tebygol o fod mewn tlodi parhaus, ac mae troseddau casineb a thrais yn erbyn menywod a merched yn llawer rhy gyffredin.

Mae'r Ceidwadwyr a Llafur wedi methu'n llwyr â gwrthsefyll casineb, ac wedi methu brwydro yn erbyn anghydraddoldebau sydd wedi hen ymwreiddio. Mae'r Ceidwadwyr wedi bod yn ddidrugaredd o elyniaethus yn eu rhethreg a'u polisi mewn perthynas ag ymfudo ac wedi methu cymryd honiadau o Islamoffobia o fewn eu plaid o ddifrif; mae Jeremy Corbyn wedi methu â mynd i'r afael â gwrth-Semitiaeth sefydliadol yn y Blaid Lafur. Ers degawdau, mae'r ddwy blaid wedi gweld rhyddid sifil fel anghyfleustra a saif yn ffordd blaenoriaethau eraill, sydd wedi arwain at ymosodiadau ar hawliau unigolion, a gwyliadwriaeth ar ddinasyddion sy'n mynd y tu hwnt i'r gyfraith.

Mae ein cynllun ni'n gweld cymdeithas rydd lle mae hawliau a rhyddid pob person yn cael eu gwarchod a lle mae cyfraniad ymfudwyr i'n cymdeithas yn cael ei ddathlu. Mae'n gynllun ar gyfer byd lle mae hawliau pawb yn cael eu parchu a lle mae cymdeithas yn deg ac yn amrywiol; cynllun sy'n galluogi pawb i gyd-dynnu a byw fel pwy yr ydyn nhw, yn rhydd rhag wahaniaethu neu ymyrraeth gan y wladwriaeth; cynllun sy'n golygu bod y sawl sy'n dewis dod i'r DU i weithio, i astudio neu i ymuno â'u teuluoedd yn cael eu croesawu am y sgiliau a'r cyfraniadau a ddaw yn eu sgil; cynllun lle mae undod teuluol yn cael ei amddiffyn, a rheolaeth y gyfraith yn cael ei barchu.

**Ein blaenoriaethau yn y senedd nesaf fydd:**

- **Sefyll dros hawliau dynol trwy hyrwyddo'r Ddeddf Hawliau Dynol a'r Confensiwn Ewropeaidd ar Hawliau Dynol.**



- **Rhoi trefn ar y system fewnfudo sydd wedi methu trwy gael gwared ar amgylchedd gelyniaethus y Ceidwadwyr, rhoi diwedd ar gadw amhenodol a chymryd pwerau oddi wrth y Swyddfa Gartref.**
- **Rhoi'r hawl i geiswyr lloches weithio, dri mis ar ôl iddynt wneud cais, ac ailsefydlu yn y DU 10,000 o blant ar eu pen eu hunain sy'n ffoaduriaid dros y deng mlynedd nesaf.**

## Diogelu Rhyddid Sifil

Mae ein hawliau a'n rhyddid o dan fygythiad. Mae Llafur a'r Ceidwadwyr yn pleidleisio'n gyson dros ddeddfau newydd sy'n cwtogi ar ryddid sifil ac mae'r Ceidwadwyr yn bygwth drosodd a throsodd y Ddeddf Hawliau Dynol sy'n diogelu ein rhyddid fel unigolion. Bydd y Democratiaid Rhyddfrydol yn creu cymdeithas lle mae hawliau a rhyddid yn cael eu gwarchod a lle na fydd preifatrwydd unrhyw un yn cael ei darfu gan offerynnau busneslyd y wladwriaeth. Byddwn yn:

- Amddiffyn y Ddeddf Hawliau Dynol, yn gwrthsefyll unrhyw ymgais i dynnu'n ôl o'r Confensiwn Ewropeaidd ar Hawliau Dynol ac yn gwrthwynebu unrhyw ddeddfau sy'n erydu rhyddid sifil yn ddiangen.
- Sefydlu hawl newydd i gymorth cyfreithiol fforddiadwy, rhesymol; a buddsoddi £500 miliwn ar adfer Cymorth Cyfreithiol, gan wneud y system yn symlach ac yn fwy hael.
- Rhoi diwedd ar swmp-grynhoi data cyfathrebu a chofnodion cysylltiadau rhyngrwyd.
- Cyflwyno Cod Moeseg Lovelace i lywodraethu'r defnydd o ddata personol a deallusrwydd artiffisial er mwyn sicrhau y bydd hyn yn ddiduedd, yn dryloyw ac yn gywir, ac yn parchu preifatrwydd.
- Rhoi diwedd ar unwaith ar y defnydd o wyliadwriaeth adnabyddiaeth wyneb gan yr heddlu.
- Cyflwyno'r hawl i ysgariad heb fai.
- Ymestyn hawliau cyfreithiol cyfyngedig i barau sy'n cyd-fyw, er enghraifft, er mwyn rhoi mwy o ddiogelwch iddynt pe baent yn gwahanu, neu pe bai partner yn marw.
- Cyflawni cyflwyno priodasau cyfartal, trwy:
  – Ddileu feto gan briod.
  – Caniatáu i'r priodasau hynny a ddiddymwyd oherwydd y broses Cydnabod Rhywedd yn unig gael eu hadfer yn ôl-weithredol.

– Galluogi Eglwys Loegr a'r Eglwys yng Nghymru i gynnal priodasau o'r un rhyw.

Cyflwyno cydnabyddiaeth gyfreithiol o briodasau dyneiddiol.

## Mynnu Cydraddoldeb

Dylai pobl allu byw eu bywydau heb ofni unrhyw wahaniaethu. Fodd bynnag, mae troseddau casineb ar gynnydd ac mae gormod o grwpiau o bobl nad ydynt yn teimlo'n ddiogel mwyach. Credwn fod angen i'r llywodraeth chwarae rhan weithredol o ran cosbi gwahaniaethu a sicrhau nad yw'n digwydd yn y lle cyntaf. Byddwn yn:

- Mynd i'r afael â'r cynnydd mewn troseddau casineb trwy eu gwneud yn droseddau gwaethygedig, a rhoi'r adnoddau a'r hyfforddiant angenrheidiol i'r sawl sy'n gorfodi'r gyfraith ar gyfer adnabod ac atal troseddau o'r fath, a chondemnio rhethreg ymfflamychol – gan gynnwys gwrth-Semitiaeth ac Islamoffobia – gan bobl sydd â llwyfannau cyhoeddus.
- Darparu cyllid ar gyfer camau diogelwch amddiffynnol ar gyfer addoldai, ysgolion a chanolfannau cymunedol sy'n agored i droseddau casineb ac ymosodiadau terfysgol.
- Diwygio'r Ddeddf Cydnabod Rhywedd yn llwyr gan ddileu'r gofyniad am adroddiadau meddygol, cael gwared ar y ffi a chydnabod hunaniaethau rhywedd anneuaidd.
- Cyflwyno opsiwn rhywedd 'X' ar basbortau ac ymestyn cyfraith cydraddoldeb i gynnwys hunaniaeth o ran rhywedd a mynegiant rhywedd.
- Sicrhau data poblogaeth cywir o ran cyfeiriadedd rhywiol a hunaniaeth o ran rhywedd trwy gynnwys cwestiwn ar statws pobl lesbiaidd, hoyw, ddeurywiol a thrawsrywiol+ yng Nghyfrifiad 2021.
- Gwella hygyrchedd i fannau cyhoeddus a thrafnidiaeth gyhoeddus trwy wneud mwy o orsafoedd yn hygyrch i gadeiriau olwyn, gwella'r fframwaith deddfwriaethol sy'n llywodraethu bathodynnau glas, sefydlu safon feincnodi ar gyfer dinasoedd hygyrch, a gwahardd gwahaniaethu gan gerbydau hurio preifat a thacsis.
- Cyflwyno Deddf Iaith Arwyddion Prydain i roi cydnabyddiaeth gyfreithiol lawn i Iaith Arwyddion Prydain.
- Rhoi diwedd ar dlodi mislif trwy gael gwared ar TAW ar eitemau ar gyfer y mislif a'u darparu am ddim mewn ysgolion, ysbytai, hostelau, llochesi, llyfrgelloedd,



canolfannau hamdden, stadia, meddygfeydd, banciau bwyd, colegau a phrifysgolion.
- Rhoi diwedd ar yr hyn a elwir yn 'Dreth Binc', gan waredu'r bwlch rhwng y rhywiau o ran prisiau.
- Gwahardd gwahaniaethu ar sail cast.

## Hyrwyddo Amrywiaeth

Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn credu y dylid cynrychioli'r amrywiaeth sy'n bodoli yn y DU o fewn bywyd cyhoeddus a bywyd gwaith. Mae hynny'n golygu y dylai menywod, grwpiau lleiafrifol ethnig, pobl lesbiaidd, hoyw, ddeurywiol a thrawsrywiol+, a phobl anabl gael eu cynrychioli'n briodol a'u talu'n deg. Ond mae rhagfarnau dwfn – a diarwybod, fel rheol - yn golygu bod gormod o weithleoedd yn brin o amrywiaeth ac mae anghydraddoldebau'n parhau wedi'u hymwreiddio. Byddwn yn mynd i'r afael â rhagfarnau sefydliadol, yn hyrwyddo cydraddoldeb ac yn dwyn pŵer i gyfrif trwy arddel gwerthoedd o fod yn agored, yn dryloyw ac yn atebol. Byddwn yn:

- Cynyddu absenoldeb tadolaeth statudol o'r pythefnos presennol hyd at chwe wythnos a sicrhau bod absenoldeb rhieni yn hawl o'r diwrnod cyntaf, a byddwn yn mynd i'r afael ag anghydraddoldebau parhaus sy'n wynebu parau o'r un rhyw.
- Ei gwneud yn ofynnol i sefydliadau gyhoeddi polisïau absenoldeb rhieni a thâl rhieni.
- Parhau â'r ymgyrch dros amrywiaeth mewn arweinyddiaeth fusnes, gan wthio am benodi menywod i isafswm o 40 y cant o'r lleoedd ar fyrddau cwmnïau FTSE 350 a gweithredu argymhellion adolygiad Parker i gynyddu cynrychiolaeth gan leiafrifoedd ethnig.
- Ymestyn y Ddeddf Cydraddoldeb i fod yn berthnasol i bob cwmni mawr sydd â mwy na 250 o weithwyr, gan ei gwneud yn ofynnol iddynt fonitro a chyhoeddi data ar rywedd, pobl dduon ac Asiaidd a lleiafrifoedd ethnig, a phobl lesbiaidd, hoyw, ddeurywiol a thrawsrywiol+ o ran lefelau cyflogaeth a bylchau cyflog.
- Ymestyn y defnydd o brosesau recriwtio dienw yn y sector cyhoeddus ac annog eu defnydd yn y sector preifat.
- Gwella amrywiaeth mewn penodiadau cyhoeddus yn y DU trwy osod targedau uchelgeisiol sy'n mynd y tu hwnt i dargedau ar gyfer y sector preifat, ac sy'n gofyn am adrodd yn erbyn cynnydd gydag esboniadau pan na chyrhaeddir

targedau.
- Datblygu pecyn cymorth hyfforddiant cynhwysfawr sydd am ddim yn ymwneud â rhagfarn ddiarwybod a gwneud darpariaeth hyfforddiant ar ragfarn ddiarwybod i bob aelod staff yn amod ar gyfer derbyn arian cyhoeddus yn y DU.
- Datblygu cynllun ledled Llywodraeth y DU i fynd i'r afael ag anghydraddoldebau sy'n effeithio ar bobl dduon ac Asiaidd a lleiafrifoedd ethnig, ac adolygu cyllid y Comisiwn Cydraddoldeb a Hawliau Dynol i sicrhau ei fod yn ddigonol.

## System Fewnfudo Dosturiol ac Effeithiol

Mae angen dirfawr i ddiwygio system fewnfudo Prydain. Mae amgylchedd gelyniaethus y Ceidwadwyr wedi arwain at darfu ar hawliau llawer gormod o bobl ddiniwed – yn fwyaf arbennig, cenhedlaeth Windrush. Nid yw'r GIG yn gallu recriwtio'r meddygon a'r nyrsys sydd eu hangen arno; mae teuluoedd yn cael eu gwahanu gan ofynion annheg a chymhleth o ran fisâu; mae pobl yn cael eu cadw am gyfnodau amhenodol, mewn amodau annynol ac ar draul cost uchel. Mae degawdau o anghymhwystra, creulondeb a rhethreg elyniaethus gan Ysgrifenyddion Cartref Llafur a Cheidwadol wedi chwalu hyder yn y system. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sydd â chynllun ar gyfer system ymfudo deg sy'n gweithio i bawb. Dyma gynllun i sicrhau bod ymfudwyr sy'n dod i'r DU yn cael eu croesawu am y sgiliau a'r cyfraniad a ddaw yn eu sgil, gan sicrhau ar yr un pryd y gall pawb fod yn hyderus bod y system fewnfudo yn gweithredu fel y dylai. Byddwn yn:

- Stopio Brexit ac arbed rhyddid i symud yr UE.
- Cael gwared ar amgylchedd gelyniaethus y Ceidwadwyr.
- Buddsoddi mewn swyddogion, hyfforddiant a thechnoleg i atal mynediad anghyfreithlon ar ffiniau Prydain, cynorthwyo ceiswyr lloches a brwydro yn erbyn masnachu a smyglo pobl, arfau, cyffuriau a bywyd gwyllt.
- Gwneud cadw mewnfudwyr yn ddewis olaf llwyr, a chyflwyno terfyn amser o 28 diwrnod ar gadw mewnfudwyr, a chau saith o'r naw canolfan gadw sydd yn y DU.
- Sefydlu wal dân i atal asiantaethau cyhoeddus rhag rhannu gwybodaeth bersonol â'r Swyddfa Gartref at ddibenion gorfodaeth mewnfudo a diddymu'r eithriad mewnfudo yn y Ddeddf Diogelu Data.
- Symud llunio polisi ar drwyddedau gwaith a fisâu myfyrwyr allan o'r Swyddfa Gartref ac i'r Adran Busnes a'r Adran Addysg yn y drefn honno, a sefydlu



asiantaeth anwleidyddol newydd ag agwedd hyd braich i ymgymryd â phrosesu ceisiadau.

- Amnewid fisâu gwaith Haen 2 am system fwy hyblyg sy'n seiliedig ar deilyngdod.
- Cyflwyno rhaglen 'Training up Britain' i wneud y gorau o sgiliau ymfudwyr.
- Creu fisa dwy flynedd newydd fel y gall myfyrwyr weithio ar ôl graddio.
- Gostwng y ffi ar gyfer cofrestru plentyn fel dinesydd Prydeinig o £1,012 i gost gweinyddu.
- Diddymu'r gofyniad lleiafswm incwm mympwyol a chymhleth ar gyfer fisâu priod a phartner.
- Hepgor ffioedd ar gyfer ceisiadau am ganiatâd amhenodol i aros i aelodau'r Lluoedd Arfog ar ôl eu rhyddhau, a'u teuluoedd.
- Galluogi pobl a ddaeth yma fel plant i wneud cais am statws preswylydd.

## Urddas ar gyfer Ffoaduriaid a Cheiswyr Lloches

Rhaid i ni wneud popeth o fewn ein gallu i ddiogelu pobl sydd wedi'u gorfodi i ffoi o'u cartrefi rhag rhyfel ac erledigaeth. Mae gan y DU hanes balch o ddarparu noddfa ar gyfer y sawl sydd mewn angen, ond mae llywodraethau Llafur a Cheidwadol wedi cyflwyno system lem sy'n methu parchu urddas pobl. Mae miloedd o geiswyr lloches yn cael eu gorfodi i aros am fisoedd lawer am benderfyniad, yn methu gweithio, na rhentu cartref na chynnal eu teuluoedd. Gwrthodir lloches ar gam i ormod o bobl, gyda 40 y cant o wrthodiadau yn cael eu gwrthdroi ar apêl. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n gallu gwneud i'r system weithio'n deg i geiswyr noddfa. Byddwn yn:

- Rhoi'r hawl i geiswyr lloches weithio, dri mis ar ôl iddynt wneud cais, gan eu galluogi i weithio mewn unrhyw rôl fel y gallant gynnal eu hunain, ac integreiddio i'w cymunedau a chyfrannu trwy drethi.
- Darparu llwybrau diogel a chyfreithiol i noddfa yn y DU trwy ailsefydlu 10,000 o ffoaduriaid sy'n agored i niwed bob blwyddyn a 10,000 pellach o blant ar eu pen eu hunain sy'n ffoaduriaid, a ddaw o fannau eraill yn Ewrop, dros y deng mlynedd nesaf, ac yn ogystal, ehangu hawliau aduno teuluol.
- Cynnig lloches i bobl sy'n ffoi rhag risg o drais oherwydd eu cyfeiriadedd rhywiol neu eu hunaniaeth o ran rhywedd, rhoi diwedd ar y diwylliant o anghrediniaeth yn achos ceiswyr lloches sy'n bobl lesbiaidd, hoyw, ddeurywiol a thrawsrywiol+, a pheidio byth â gwrthod ymgeiswyr sy'n bobl lesbiaidd, hoyw, ddeurywiol a thrawsrywiol+ ar y sail y gallent beidio â thynnu sylw at eu hunain.
- Symud llunio polisi ar loches o'r Swyddfa Gartref i'r Adran Datblygu Rhyngwladol

a sefydlu uned bwrpasol i wella cyflymder ac ansawdd y broses gwneud penderfyniadau.

- Darparu gwersi Saesneg sylfaenol am ddim i ffoaduriaid a cheiswyr lloches a chael gwared ar y rheol 16 awr yr wythnos mewn perthynas â chymorth ariannol i'r sawl sy'n methu gweithio oherwydd Saesneg annigonol.
- Cynyddu'r 'cyfnod symud ymlaen' ar gyfer ffoaduriaid o 28 diwrnod i 60 diwrnod.



# Ein Cynllun ar gyfer Gwleidyddiaeth Well

Dylai pawb, ble bynnag y maen nhw'n byw, gael cyfle priodol i ddylanwadu ar y penderfyniadau sy'n effeithio arnynt. Ond ar hyn o bryd, mae gwleidyddiaeth Prydain ymhell o gyflawni hyn ar gyfer pobl. Mae gormod yn colli eu llais a'u pleidlais oherwydd twyll. I rai pobl, mae hynny'n digwydd oherwydd eu bod yn byw mewn etholaeth lle maen nhw'n teimlo nad oes unrhyw wahaniaeth dros bwy maen nhw'n pleidleisio – bydd yr un blaid yn cael ei hethol bob tro. I bobl ifanc, dinasyddion yr UE a llawer o bobl Brydeinig sy'n byw dramor, mae hyn yn digwydd oherwydd nid oes hawl ganddynt i bleidleisio mewn etholiadau ar gyfer y senedd. Mae methiant system ddemocrataidd y DU i adlewyrchu amrywiaeth barn y cyhoedd yn y senedd wedi chwarae rhan fawr mewn creu'r argyfwng gwleidyddol presennol – ac mae datrys hyn yn fater o frys.

Nid oes gan Lafur na'r Ceidwadwyr unrhyw ddiddordeb mewn newid ein system doredig, oherwydd mae'n gweithio i'w cadw mewn grym. Maent wedi'u gyrru i'r eithafion ac mae eu harweinwyr yn ceisio ennill pŵer trwy fod ychydig yn fwy derbyniol na'r dewis arall – ond mae'r DU yn haeddu gwell na dewis y lleiaf o ddau ddrygioni.

Mae gan y Democratiaid Rhyddfrydol gynllun i drawsnewid ein system wleidyddol yn ei hanfod fel ei bod yn gweithio o blaid democratiaeth fodern. Cynllun a fydd yn adfer ein gwleidyddiaeth doredig fel y gallwn fwrw ymlaen â chreu cymdeithas decach sy'n diogelu ein planed.

**Ein blaenoriaethau yn y senedd nesaf fydd:**

- **Rhoi llais i bobl trwy system bleidleisio deg fel bod pleidlais pawb yn cyfrif yn gyfartal, a galluogi pobl i bleidleisio yn yr etholiad neu'r refferendwm cyntaf ar ôl iddynt ddod yn 16 oed, a rhoi pleidleisiau i holl ddinasyddion Prydain sy'n byw dramor ac i ddinasyddion yr UE sydd wedi sefydlu eu cartref hirdymor yn y DU**
- **Cychwyn ar ailddosbarthu pŵer mewn modd radical, i ffwrdd o San Steffan ac i'r cenhedloedd, rhanbarthau ac awdurdodau lleol, gan roi pŵer i gymunedau ddwyn gwasanaethau lleol i gyfrif a phenderfynu sut mae eu**

**trethi'n cael eu codi a'u gwario.**

- **Cyflwyno cyfansoddiad ysgrifenedig ar gyfer y Deyrnas Unedig ffederal.**

## Pleidleisio Teg

Nid yw'r system bleidleisio bresennol ar gyfer Senedd y DU yn gweithio. Mae lleisiau gormod o bobl yn mynd heb eu clywed. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n sylweddoli bod y system wedi'i thorri a byddant yn ei newid fel ei bod yn gweithio ar gyfer y dyfodol: ni fydd Llafur na'r Ceidwadwyr yn newid y system sydd bob amser wedi cadarnhau eu safle breintiedig. Rydym yn deall bod angen diwygio gwleidyddiaeth Prydain i'w gwneud yn fwy cynrychioliadol ac i rymuso dinasyddion. Byddwn yn:

- Rhoi diwedd ar bleidleisiau a gaiff eu gwastraffu, wrth gyflwyno cynrychiolaeth gyfrannol trwy'r Bleidlais Sengl Drosglwyddadwy ar gyfer ethol Aelodau Seneddol.
- Rhoi'r hawl i bobl ifanc 16 oed a 17 oed bleidleisio mewn etholiadau a refferenda.
- Ymestyn yr hawl i chwarae rhan lawn mewn bywyd dinesig, gan gynnwys yr hawl i sefyll am swydd neu bleidleisio yn refferenda'r DU ac Etholiadau Lleol a Chyffredinol, i holl ddinasyddion yr UE sydd wedi byw yn y DU ers pum mlynedd neu fwy.
- Cyflwyno gofyniad cyfreithiol i awdurdodau lleol wneud llawer mwy o ymdrech i hysbysu dinasyddion am y camau y mae'n rhaid iddynt eu cymryd er mwyn cael eu cofrestru'n llwyddiannus, ac yn benodol, hysbysu ymhlith grwpiau sydd heb gynrychiolaeth ddigonol; a sicrhau bod gan y DU system awtomatig o gynhwysiant ar gyfer etholiadau.
- Galluogi holl ddinasyddion y DU sy'n byw dramor i bleidleisio ar gyfer ASau mewn etholaethau tramor ar wahân, ac i gymryd rhan yn refferenda'r DU.
- Rhoi'r gorau i'r cynlluniau i'w gwneud yn ofynnol i bleidleiswyr ddod â phrawf adnabod gyda nhw ar gyfer pleidleisio.
- Diwygio Tŷ'r Arglwyddi gyda mandad democrataidd priodol.
- Galluogi'r Senedd, yn hytrach na'r Frenhines yn y Cyfrin Gyngor, i gymeradwyo pryd fydd y senedd yn cael ei gohirio, ac am ba hyd.
- Sicrhau bod yn rhaid i Brif Weinidog newydd, a'u rhaglen lywodraethu, ennill pleidlais o hyder gan ASau.
- Cymryd agwedd o ddim goddefgarwch tuag at aflonyddu a bwlio yn San Steffan



a deddfu i rymuso etholwyr i adalw ASau sy'n cyflawni aflonyddu rhywiol.

- Deddfwriaeth i ganiatáu rhestrau byr ar gyfer pobl dduon ac Asiaidd a lleiafrifoedd ethnig, a phobl lesbiaidd, hoyw, ddeurywiol a thrawsrywiol+, yn unig
- Dod ag Adran 106 Deddf Cydraddoldeb 2010 i rym, a'i gwneud yn ofynnol i bleidiau gwleidyddol gyhoeddi data am amrywiaeth ymgeiswyr.

## Dadl Gyhoeddus o Ansawdd Uchel

Dylai democratiaeth sy'n gweithredu'n dda fod â dadl gyhoeddus o ansawdd uchel: lle mae dinasyddion yn cael eu cefnogi, eu haddysgu a'u grymuso i wahaniaethu rhwng ffeithiau a chelwydd; lle mae amgylchedd o agweddau gwahanol yn y cyfryngau ac mae gan newyddiadurwyr yr adnoddau sydd eu hangen arnynt i ddod o hyd i'r gwir ac i ddwyn y pwerus i gyfrif; lle gwarchodir cwrteisi mewn trafodaethau cyhoeddus; lle mae gweithdrefnau a rheolau etholiadol yn cael eu cynnal yn gadarn ac yn brydlon. Fodd bynnag, mae bygythiad yn bodoli i'r sylfeini hyn sy'n perthyn i'n ffordd ddemocrataidd o fyw. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n ddigon blaengar i wneud yr hyn sydd ei angen er mwyn meithrin dadl gyhoeddus o ansawdd uchel. Byddwn yn:

- Mandadu darpariaeth dadleuon ar y teledu ymhlith arweinwyr pleidiau mewn etholiadau cyffredinol, yn seiliedig ar reolau a lunnir gan Ofcom.
- Cyflwyno rheoleiddiwr sy'n cydymffurfio â Leveson i fod â goruchwyliaeth dros breifatrwydd ac ansawdd, amrywiaeth a dewis, yn y cyfryngau print ac ar-lein, a bwrw ymlaen â Rhan Dau Ymchwiliad Leveson.
- Cymryd arian mawr allan o wleidyddiaeth trwy roi terfyn ar roddion i bleidiau gwleidyddol a chyflwyno diwygiadau ehangach i gyllid pleidiau yn unol ag adroddiad 2011 y Pwyllgor Safonau mewn Bywyd Cyhoeddus.
- Sefydlu cynulliadau dinasyddion i sicrhau bod y cyhoedd yn chwarae rhan lawn yn y broses o ddod o hyd i ddatrysiadau i'r heriau mwyaf sy'n ein hwynebu, megis mynd i'r afael â'r argyfwng ar yr hinsawdd a'r defnydd o ddeallusrwydd artiffisial ac algorithmau gan y wladwriaeth.
- Disgwyl i'r BBC ddarparu newyddion a gwybodaeth ddiduedd, ac i gymryd rhan flaenllaw mewn gwella llythrennedd o ran y cyfryngau ac addysgu pob cenhedlaeth wrth fynd i'r afael ag effeithiau newyddion ffug.
- Cryfhau ac ehangu'r gofrestr lobïo a gwahardd ASau rhag derbyn gwaith lobïo â thâl.
- Gweithio tuag at dryloywder radical amser real ar gyfer hysbysebu gwleidyddol,

rhoddion a gwariant, gan gynnwys cronfa ddata gyhoeddus y gellir ei chwilio'n hawdd ar gyfer yr holl hysbysebion gwleidyddol ar-lein.
- Sicrhau bod algorithmau a ddefnyddir gan gwmnïau data ar gael i'w harchwilio'n fanwl gan reoleiddwyr sy'n gweithredu ar ran llywodraethau a etholir yn ddemocrataidd, ynghyd â mynediad rheoleiddwyr i'r rhaglenwyr sy'n gyfrifol am eu dylunio a'u gweithredu.
- Adolygu'r angen am unrhyw ddeddfwriaeth diogelu etholiadau sydd ei hangen i ymateb i heriau sy'n dod i'r amlwg yn oes y rhyngrwyd, megis ymyrraeth gan wledydd tramor mewn etholiadau.

## Pŵer i'r Cenhedloedd a Rhanbarthau

Y bobl sy'n deall orau beth sydd ei angen ar genhedloedd a rhanbarthau'r DU yw'r sawl sy'n byw ynddynt. Fodd bynnag, mae gan y llywodraeth Geidwadol hanes ofnadwy o ran diwallu anghenion y DU y tu allan i'w pherfeddwlad yn ne Lloegr – mae hyn yn fwyaf eglur yn y ffordd y mae'r llywodraeth Geidwadol wedi cau lleisiau'r cenhedloedd allan o drafodaethau Brexit.

Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol eisiau ymreolaeth ar gyfer pob un o'r cenhedloedd mewn Teyrnas Unedig gref, ffederal ac unedig. Mae gennym hanes balch o arwain y ffordd ar roi mwy o bwerau i Gymru a'r Alban. Ni fyddwn yn caniatáu i Brexit wyrdroi datganoli a byddwn yn gwrthwynebu ymdrechion i ddefnyddio Brexit i fynd yn ôl i'r gorffennol pan oedd pwerau'n cael eu celcio yn San Steffan. Byddwn yn hyrwyddo dyfodol ffederal i'r DU.

Bydd ein cynlluniau ar gyfer cyfansoddiad ysgrifenedig, ffederal yn cynnwys Senedd barhaol yng Nghymru a Senedd barhaol yn yr Alban, a byddwn yn cymryd camau ymarferol i sicrhau bod gan Gymru a'r Alban leisiau cryf yn nyfodol teulu'r cenhedloedd. Byddwn yn:

- Ymestyn cyfranogiad Llywodraeth Cymru a Llywodraeth yr Alban yn natblygiad fframweithiau polisi ledled y DU.
- Cynnwys adrannau iechyd ac addysg llywodraethau Cymru a'r Alban yn benodol wrth lunio polisïau'r DU ar gyffuriau a fisâu myfyrwyr.
- Creu Cydgyngor y Cenhedloedd ar yr Hinsawdd i gydgysylltu camau i fynd i'r afael â'r argyfwng ar yr hinsawdd.
- Gwella gwaith gweinidogol ar y cyd ar bolisïau trawsbynciol newydd, megis



strategaeth ddiwydiannol y DU.
- Sefydlu proses ar gyfer datrys anghydfodau er mwyn mynd i'r afael â gwahaniaethau rhwng y gweinyddiaethau.

## Cymru

Yn yr 20 mlynedd ers creu Cynulliad Cenedlaethol Cymru, rydym wedi chwarae ein rhan â balchder yn nhaith ddatganoli Cymru: mae 20 mlynedd o ddatganoli wedi galluogi Cynulliad Cenedlaethol Cymru i aeddfedu i fod yn Senedd Cymru. Ond bellach, mae Brexit yn bygwth llawer o'r cynnydd hwn. Rydym yn cydnabod na fydd stopio Brexit a diogelu'r lefelau presennol o ddatganoli yn ddigon i greu'r Brydain ffederal sydd ei hangen ar Gymru er mwyn iddi gyflawni ei photensial.

Byddwn yn cwblhau cam nesaf datganoli yng Nghymru trwy weithredu'r cynigion Silk sy'n weddill a lleihau'n sylweddol nifer y pwerau a gedwir yn ôl yn San Steffan. Yn ogystal â'r camau hyn, er mwyn sicrhau bod gan Gymru lais cryf yn y DU, byddwn yn:

- Datganoli'r Doll Teithwyr Awyr er mwyn rhoi Cymru yn yr un sefyllfa deg â'r Alban a Gogledd Iwerddon, a rhoi Maes Awyr Caerdydd yn yr un sefyllfa deg â meysydd awyr rhanbarthol yn Lloegr.
- Creu awdurdodaeth gyfreithiol benodol i Gymru er mwyn adlewyrchu'r gwahaniaethau cynyddol yn y gyfraith o ganlyniad i ddatganoli.
- Datganoli pwerau dros gyfiawnder ieuenctid, gwasanaethau prawf, carchardai a phlismona er mwyn galluogi Cymru i greu dull effeithiol, rhyddfrydol, cymunedol o blismona a mynd i'r afael â throseddu.

Credwn yn gryf fod Cymru ar ei hennill fel rhan o'r DU a'r UE. Mae'r ddwy undeb yn werth biliynau o bunnoedd i economi Cymru ac yn cefnogi degau o filoedd o swyddi.

I Gymru, bydd Teyrnas Unedig ffederal yn golygu teulu gwirioneddol gyfartal o genhedloedd, gan sicrhau bod llais gan bob rhan o'r undeb hwn, a ategir gan ddatganoli gwirioneddol ac ystyrlon. Byddwn yn gweithio i greu Cymru sy'n gallu llunio ei thynged ei hun fel rhan o Deyrnas Unedig gref sy'n chwarae rhan flaenllaw o fewn yr UE.

## Ariannu Datganoli

Ers amser maith, bu gan genhedloedd y Deyrnas Unedig anghenion gwahanol o ran cyllid. Pan oedd y Democratiaid Rhyddfrydol yn rhan o lywodraeth y DU, cyflwynom estyniad sylweddol i bwerau ariannol cenhedloedd y DU, a byddwn yn datganoli pwerau ariannol pellach. Er mwyn sicrhau ariannu dibynadwy, byddwn yn cadw fformiwla Barnett er mwyn addasu dyraniadau gwariant ledled y DU. Bydd hyn yn diogelu cyllidebau'r cenhedloedd unigol rhag ergydion allanol. Fodd bynnag, rydym yn cydnabod canfyddiadau Comisiwn Holtham bod y fformiwla bresennol yn tanariannu Cymru a byddwn yn comisiynu gwaith i ddiweddaru'r dadansoddiad hwn. Byddwn yn mynd i'r afael â'r anghydbwysedd trwy sicrhau ar unwaith bod llawr Barnett yn cael ei osod ar lefel sy'n adlewyrchu'r angen i Gymru gael ei hariannu'n deg, ac yn ystod oes y senedd, byddwn yn anelu at gynyddu grant bloc Cymru i lefel deg.



# Ein Cynllun ar gyfer Byd Gwell

Mae'r byd sydd ohoni yn teimlo'n fwyfwy ansefydlog ac anniogel. Mae cenedlaetholdeb ac awdurdodyddiaeth ar gynnydd mewn gwledydd ledled y byd. Mae'r Arlywydd Trump wedi gweithredu dro ar ôl tro i achosi ansefydlogrwydd, p'un a hynny trwy gychwyn rhyfeloedd masnach neu gefnu ar gynghreiriaid Cwrdaidd yn Syria; mae Russia o dan Putin yn bygwth yn gyson y drefn ryngwladol sy'n seiliedig ar reolau; ac mae tensiynau'n parhau i godi ledled y byd – mae rhyfela creulon yn parhau yn Yemen, mae perthnasoedd ag Iran yn mynd yn fwyfwy anodd ac mae dinasyddion yn protestio yn erbyn eu harweinwyr mewn mannau fel Hong Kong, Pacistan a Chile. Dylai'r DU fod yn chwarae rhan flaenllaw fel rhan o glymblaid o wledydd democrataidd rhyddfrydol i ymateb i'r heriau hyn, ond mae Brexit eisoes wedi tanseilio ein gallu i ddylanwadu ar ddigwyddiadau yn y byd. Byddai'r Ceidwadwyr a Llafur fel ei gilydd yn dilyn dull cyfeiliornus sy'n edrych yn ôl i'r gorffennol mewn perthynas â materion tramor a fyddai'n tanseilio safle'r DU yn y byd ymhellach fyth. Mae'r Ceidwadwyr yn seilio eu cynlluniau ar orffennol dychmygol, yn ddall i realiti'r Ymerodraeth, ac mae Boris Johnson wedi dangos, yn ei sylwadau am Nazanin Zaghari-Radcliffe, na ellir ymddiried ynddo i amddiffyn dinasyddion Prydain; yn yr un modd, ni ellir ymddiried yn arweinwyr Llafur, sydd ag obsesiwn gwrth-Orllewinol sy'n eu gwneud yn ymddiheurwyr parhaus dros lywodraeth gynyddol ymosodol Rwsia, i amddiffyn buddiannau'r DU.

Dim ond y Democratiaid Rhyddfrydol sydd â chynllun i adnewyddu rhyddfrydiaeth ryngwladol ym Mhrydain a sicrhau bod y DU yn chwarae rhan weithredol mewn creu byd gwell. Dyma gynllun a fydd yn dymchwel waliau yn hytrach na'u hadeiladu; cynllun a fydd yn hyrwyddo gwerthoedd hawliau dynol, democratiaeth a chydraddoldeb; cynllun sy'n golygu gweithio trwy sefydliadau amlochrog fel yr UE, y Cenhedloedd Unedig, NATO, a Sefydliad Masnach y Byd, yn hytrach na'u tanseilio neu eu gadael yn gyfan gwbl. Trwy ymrwymo'n glir i'r sefydliadau amlochrog hyn, gallwn fynd i'r afael â'r heriau sy'n wynebu gwledydd a gwireddu ein gwerthoedd yn rhyngwladol a dylanwadu ar ddigwyddiadau rhyngwladol er budd y DU.

**Ein blaenoriaethau yn y senedd nesaf fydd:**

- **Amddiffyn cydweithredu rhyngwladol yn erbyn y llif cynyddol o genedlaetholdeb ac arwahanrwydd, gan gefnogi sefydliadau amlochrog**

- **fel y Cenhedloedd Unedig a NATO, sydd o dan fygythiad cynyddol.**
- **Gwario 0.7 y cant o'r Incwm Cenedlaethol Gros ar gymorth: gan leihau tlodi, amddiffyn hawliau dynol, diogelu'r amgylchedd ac atal gwrthdaro treisgar ledled y byd.**
- **Cydweithredu â phartneriaid Ewropeaidd a byd-eang y DU i fynd i'r afael ag argyfyngau mewn perthynas â'r hinsawdd a'r amgylchedd.**
- **Rheoli allforio arfau i wledydd sydd â hanes gwael o ran hawliau dynol, ac fel rhan o hyn, atal gwerthiant arfau i Sawdi Arabia.**

## Byd Heddychlon

Mae gan ryddfrydiaeth a chydweithrediad ran hanfodol i'w chwarae o ran sicrhau heddwch, hyrwyddo democratiaeth ac amddiffyn hawliau dynol ledled y byd. Ond mae'r drefn ryngwladol sy'n seiliedig ar reolau, sydd wedi llywodraethu cysylltiadau rhyngwladol dros y 70 mlynedd diwethaf, o dan fygythiad. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n edrych ymlaen: nid oes gan y Ceidwadwyr na Llafur unrhyw weledigaeth argyhoeddiadol o rôl y DU yn y byd. Byddwn yn adeiladu ar hanes balch y DU o arweinyddiaeth ryngwladol trwy'r UE, y Cenhedloedd Unedig, NATO a'r Gymanwlad, trwy hyrwyddo gwerthoedd rhyddid a chyfle i bawb. Ni fu erioed yn bwysicach i'r DU weithio gyda chynghreiriaid fel hyrwyddwr y neges hon. Byddwn yn:

- Hyrwyddo'r drefn ryngwladol ryddfrydol sy'n seiliedig ar reolau, sy'n darparu sylfaen gref ar gyfer gweithredu amlochrog i fynd i'r afael â phroblemau mwyaf y byd.
- Defnyddio pob agwedd ar bolisi'r llywodraeth – masnach, cymorth a diplomyddiaeth yn ogystal â chydweithredu milwrol – i gryfhau ymdrechion y DU i atal gwrthdaro treisgar.
- Cynyddu cefnogaeth ariannol dramor ar gyfer argyfwng parhaus ffoaduriaid, gan ganolbwyntio ar wledydd sydd wedi derbyn miliynau o ffoaduriaid.
- Gweithio â phartneriaid Ewropeaidd i gyflwyno Deddf Magnitsky ar gyfer Ewrop a fyddai'n galluogi cosbau yn erbyn unigolion llygredig a'r sawl sy'n cam-drin hawliau dynol.
- Gwella rheolaeth ar allforio arfau, gan gynnwys cyflwyno polisi o 'ragdybiaeth o wrthod' ar gyfer allforio arfau i wledydd a restrir fel Gwledydd â Blaenoriaeth o ran Hawliau Dynol yn adroddiad blynyddol ar hawliau dynol y Swyddfa Dramor a Chymanwlad.



Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol yn credu, er gwaethaf ymdrechion i atal gwrthdaro treisgar, bod ymyrraeth filwrol yn angenrheidiol ar adegau. Dim ond pan fydd achos cyfreithiol neu ddyngarol clir y dylai'r DU ymyrryd yn filwrol, gyda chymeradwyaeth pleidlais yn y senedd – a chan weithio trwy sefydliadau rhyngwladol, pryd bynnag y bo hynny'n bosibl. Byddwn yn annog deialog a chyfryngu er mwyn lleihau gwrthdaro rhwng ac o fewn gwledydd, gan weithio trwy'r Cenhedloedd Unedig ac asiantaethau eraill. I ymateb i argyfyngau presennol, byddwn yn:

- Deddfu i sicrhau y ceir pleidlais seneddol cyn cymryd rhan mewn gweithredu milwrol, ond gan gadw ar yr un pryd y gallu i weithredu ar argyfyngau neu o dan rwymedigaeth cytuniad heb fod angen cymeradwyaeth seneddol.
- Canolbwyntio ar flaenoriaethau diplomyddol athrawiaeth Cyfrifoldeb y Cenhedloedd Unedig i Ddiogelu a sefydlu profion newydd i sicrhau y ceir cefnogaeth ranbarthol, gobaith rhesymol o lwyddiant diffiniedig, ac achos cyfreithiol a dyngarol cadarn dros unrhyw weithredu a wneir gan y DU.
- Gweithio gyda phartneriaid rhyngwladol i fynd i'r afael ag eithafiaeth dreisgar, gan roi sylw arbennig i ddinasyddion y DU sydd wedi ymladd dramor ar ran sefydliadau terfysgol, a allai ddod yn ffynonellau gweithgarwch terfysgol sylweddol os byddant yn dychwelyd i Brydain.
- Cydweithredu'n rhyngwladol mewn perthynas â Syria i sefydlogi'r rhanbarth a darparu cymorth dyngarol.
- Gweithio gyda'r UE i adfywio cytundeb niwclear Iran.
- Cydnabod gwladwriaeth annibynnol Palestina yn swyddogol, condemnio trais ar bob ochr y gwrthdaro rhwng Israel a Phalestina, a chefnogi hawl Israel i ddiogelwch. Rydym yn parhau i ymrwymo i setliad heddwch wedi'i negodi, sy'n cynnwys datrysiad dwy wladwriaeth.
- Atal gwerthiant arfau o'r DU i Sawdi Arabia i ymateb i'r ffordd y mae'r wlad yn targedu sifiliaid yn gyson, gan dorri cyfraith ddyngarol ryngwladol, yn Yemen.
- Hyrwyddo democratiaeth a sefydlogrwydd yn yr Wcráin a gwledydd cyfagos yn erbyn Rwsia sy'n gynyddol ymosodol, trwy weithio'n agos â'r UE a phartneriaid rhyngwladol i orfodi'r pwysau economaidd a gwleidyddol mwyaf posibl, a chadw at ein rhwymedigaethau yn ôl cytundeb NATO.

Anrhydeddu ein dyletswydd gyfreithiol a moesol i bobl Hong Kong trwy ailagor y cynnig o Basbort Tramor Cenedlaethol Prydain, gan ymestyn y cynllun i roi'r hawl i aros i bob deiliad.

## Amddiffyn Sicr yn yr 21ain Ganrif

Mae'r Lluoedd Arfog yn chwarae rhan hanfodol mewn amddiffyn y genedl: dylai'r llywodraeth fod ag ymdeimlad dwfn o ddyletswydd i gefnogi personél a chyn-filwyr y gwasanaethau hyn yn briodol. Nid yw'r Ceidwadwyr na Llafur wedi dangos unrhyw ymrwymiad i hyn: mae'r llywodraeth Geidwadol yn benodol wedi lledaenu morâl isel cronig, a chamwario arian ar brosiectau gwag ac wedi methu recriwtio a chadw pobl â'r sgiliau sydd eu hangen ar gyfer rhyfela yn yr 21ain ganrif. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n deall yr heriau newydd sy'n wynebu'r Lluoedd Arfog ac sydd wedi ymrwymo i'w cefnogi'n briodol. Byddwn yn:

- Ymrwymo i'r egwyddor o hunanamddiffyn ar y cyd fel y'i nodir yng Nghytundeb Gogledd yr Iwerydd a gwario dau y cant o gynnyrch domestig gros ar amddiffyn yn unol ag argymhellion NATO: wrth i'r economi dyfu ar ôl i ni atal Brexit, bydd hyn yn golygu £3 biliwn ychwanegol dros gyfnod y senedd.
- Cryfhau ein gwasanaethau arfog a mynd i'r afael â phrinder sgiliau hanfodol trwy recriwtio graddedigion STEM i fod yn beirianwyr yn y lluoedd arfog, gan ddarparu 'croeso euraid' o hyd at £10,000.
- Hyrwyddo cytuniad rhyngwladol ar egwyddorion a therfynau'r defnydd o dechnoleg mewn rhyfela modern. Cydnabod bod rhyfela yn ehangu i'r byd seiber a buddsoddi yn ein gwasanaethau diogelwch a chudd-wybodaeth a gweithredu yn erbyn ymosodiadau seiber.
- Cynnal y lefel isaf o ataliad niwclear, a mynd ar drywydd diarfogi niwclear amlochrog: parhau â rhaglen Dreadnought, sef cynllun sy'n seiliedig ar longau tanfor i ddisodli llongau tanfor Vanguard, ond gan brynu tair llong a symud i sefyllfa ymatebol o barodrwydd canolig a chynnal yr ataliad trwy fesurau megis patrymau patrolio anrhagweladwy ac afreolaidd.
- Cefnogi Cyfamod y Lluoedd Arfog a gwaith parhaus i gefnogi iechyd meddwl cyn-filwyr.
- Gwella ansawdd tai ar gyfer personél y gwasanaethau trwy ddod â'r Weinyddiaeth Amddiffyn yn unol â landlordiaid eraill, gan roi i denantiaid yr un hawliau cyfreithiol o ran atgyweirio a chynnal a chadw â thenantiaid preifat.

## Masnach, Cymorth a Buddsoddi

Mae'r drefn ryngwladol ryddfrydol sy'n seiliedig ar reolau wedi creu heddwch a ffyniant: mae masnach wedi helpu miliynau i ddod allan o dlodi ac i fyw bywydau



hirach ac iachach. Ond mae'r system yn amherffaith a rhaid iddi wella er mwyn mynd i'r afael ag anghydraddoldebau byd-eang: mae anghydraddoldeb rhwng y rhywiau yn parhau i fod yn helaeth a bydd yr argyfwng ar yr hinsawdd yn effeithio'n anghymesur ar y bobl a'r gwledydd tlotaf. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sydd â gweledigaeth ar gyfer y dyfodol yn seiliedig ar hyrwyddo rhyddfrydiaeth: mae'r Ceidwadwyr yn fewnblyg ac yn genedlaetholgar ac wedi ymrwymo i adael yr UE, sef hyrwyddwr mwyaf y drefn ryddfrydol yn ein rhan ni o'r byd; mae Llafur Jeremy Corbyn yn rhuthro i amddiffyn cyfundrefnau awdurdodaidd yn Venezuela ac Iran, a ddim yn gwneud unrhyw ymdrech i atal Brexit. Mae ein cynllun ar gyfer y dyfodol wedi'i adeiladu ar hyrwyddo gwerthoedd rhyddfrydol a rhyngwladol, ac atal tlodi a hyrwyddo Nodau Datblygu Cynaliadwy'r Cenhedloedd Unedig yn y DU a thramor. Byddwn yn:

- Cadw at ein hymrwymiad cadarn i wario 0.7 y cant o'r Incwm Cenedlaethol Gros ar gymorth, gan flaenoriaethu datblygu sy'n helpu'r tlotaf ac sy'n cyd-fynd â'n hamcanion rhyngwladol strategol ar gydraddoldeb rhwng y rhywiau, y newid yn yr hinsawdd a'r amgylchedd, hawliau dynol, atal gwrthdaro a mynd i'r afael ag anghydraddoldeb.
- Cynyddu cyfran y gyllideb gymorth sydd wedi'i hymrwymo i fynd i'r afael â'r newid yn yr hinsawdd a diraddio amgylcheddol: helpu gwledydd i liniaru effaith y newid yn yr hinsawdd ac argyfyngau amgylcheddol eraill a chefnogi ffoaduriaid a effeithir gan y newid yn yr hinsawdd.
- Dilyn agenda dramor gyda chydraddoldeb rhwng y rhywiau yn ganolog iddi, gan ganolbwyntio ar: drawsnewid sefyllfa menywod trwy gynhwysiant economaidd, addysg a hyfforddiant; sicrhau nad yw bywydau menywod a merched yn cael eu hanwybyddu er budd cynghreiriau masnach neu ranbarthol; gweithio i ymestyn hawliau atgenhedlu a rhoi diwedd ar anffurfio organau cenhedlu benywod; ac atal trais rhywiol mewn parthau gwrthdaro.
- Diogelu, amddiffyn a hyrwyddo hawliau dynol i bawb, gan gynnwys unigolion lesbiaidd, hoyw, deurywiol a thrawsrywiol+ sy'n cael eu herlid ledled y byd, yn ogystal â phobl sy'n cael eu herlid oherwydd eu crefydd neu gred.
- Datblygu strategaeth addysg fyd-eang i fynd i'r afael â'r argyfwng brys o 263 miliwn o blant yn colli allan ar addysg.
- Gweithio trwy gyrff rhyngwladol i reoleiddio cytuniadau masnach a buddsoddi rhyngwladol a chraffu'n well arnynt i sicrhau nad ydynt yn gwaethygu anghydraddoldebau nac yn tanseilio hawliau dynol neu allu gwledydd sy'n datblygu i reoleiddio effeithiau amgylcheddol a chymdeithasol busnesau.

- Hyrwyddo mentrau gwrthlygredd byd-eang a sicrhau bod gan Diriogaethau Tramor y DU a Phrydain gofrestrau sy'n agored i'r cyhoedd o berchnogaeth fuddiol cwmnïau sydd wedi'u cofrestru yn eu hawdurdodaethau.

## Hyrwyddo Hawliau Dynol a Chydraddoldeb Ledled y Byd

Mae hawliau dynol yn fyd-eang. Dylid rhoi parch cyfartal i ryddid unigolion, ble bynnag y maent yn byw. Fodd bynnag, wrth i gyfundrefnau awdurdodaidd sathru ar ryddid barn a chred ac wrth i bobl lesbiaidd, hoyw, deurywiol a thrawsrywiol+ a phobl eraill barhau i ddioddef gwahaniaethu, mae hyn ymhell o fod yn wir. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sy'n gallu adnewyddu rhyddfrydiaeth ryngwladol a brwydro yn erbyn gwahaniaethu: bydd Brexit y Ceidwadwyr yn golygu blaenoriaethu trefniadau masnach dros hawliau pobl ac nid oes gan Lafur unrhyw obaith o fynd i'r afael â gwahaniaethu dramor pan nad yw'n gallu cael gwared ar wrth-Semitiaeth o fewn y blaid ei hun hyd yn oed. Ni yw'r unig blaid sydd â chynllun credadwy i wella pŵer meddal y DU a'i ddefnyddio i hyrwyddo hawliau dynol a democratiaeth ledled y byd. Byddwn yn:

- Ei gwneud yn ofynnol i gyrff anllywodraethol a sefydliadau sydd wedi'u cofrestru yn y DU, gan gynnwys y Lluoedd Arfog a chontractwyr amddiffyn, adrodd i'r llywodraeth ar bob achos o gam-drin a ddogfennir dramor – gan adolygu, lleihau, neu wrthod cyllid i sefydliadau sy'n torri'r rheolau hyn.
- Sefydlu mecanwaith adrodd hawdd a phriodol ar gyfer cam-drin sy'n ei gwneud yn glir na fydd unrhyw wahaniaethu yn erbyn gohebwyr a chwythwyr chwiban am adrodd ar gamdriniaeth.
- Cefnogi cyfryngau rhydd a rhyngrwyd agored a rhydd, gan hyrwyddo llif gwybodaeth yn rhydd.
- Cefnogi menter bresennol y Cenhedloedd Unedig i amddiffyn newyddiadurwyr. Brwydro yn erbyn y sawl sy'n ymosod ar ohebwyr ar y rheng flaen, heb unrhyw gosb, trwy gyllido Rhaglen Ryngwladol UNESCO ar gyfer Datblygu Cyfathrebu.
- Gweithio i ddileu'r gosb marwolaeth ledled y byd a chael gwared ar bŵer gweinidogion i ganiatáu cymorth ar ffurf diogelwch a chyfiawnder mewn achosion a allai arwain at ddefnyddio cosb o'r fath.
- Gweithio i roi diwedd ar y defnydd o artaith ledled y byd a chynnal ymchwiliad llawn i rôl Llywodraeth y DU mewn artaith a throsglwyddo all-gyfreithiol.
- Datblygu cynigion gyda'r BBC ar gyfer buddsoddi i ddatblygu Gwasanaeth y Byd



i gyrraedd mwy o bobl ledled y byd â newyddion annibynnol y gellir ymddiried ynddo a pharhau i gefnogi Monitro gan y BBC a'r Cyngor Prydeinig.

- Datblygu strategaeth gynhwysfawr ar gyfer hyrwyddo dad-droseddoli gwrywgydiaeth ledled y byd a hyrwyddo hawliau pobl lesbiaidd, hoyw, deurywiol a thrawsrywiol+.
- Penodi Hyrwyddwr ar lefel Llysgennad dros Ryddid Cred.

## Gweithredu Byd-eang Di-oed ar yr Hinsawdd

Mae'r argyfwng ar yr hinsawdd yn her fyd-eang ac mae angen datrysiad byd-eang. Fodd bynnag, gyda'r Unol Daleithiau yn tynnu'n ôl o Gytundeb Paris a'r mwyafrif o bolisïau cenedlaethol ar yr hinsawdd yn disgyn ymhell o gyrraedd uchelgais y Cytundeb i gyfyngu'r codiad tymheredd byd-eang i 1.5°C, mae'r datrysiad byd-eang hwn yn ymddangos fel petai'n  bell i ffwrdd. Nid oes gan y Ceidwadwyr na Llafur unrhyw gynllun i fynd i'r afael â hyn: nid yw'r Ceidwadwyr wedi rhoi unrhyw feddwl difrifol i'r argyfwng ar yr hinsawdd, ac unig ddiddordeb Llafur yw ailadrodd sloganau gwag. Y Democratiaid Rhyddfrydol yw'r unig blaid sydd â chynllun manwl ar gyfer arwain ymdrechion byd-eang i frwydro yn erbyn yr argyfwng ar yr hinsawdd. Byddwn yn:

- Cefnogi Cytundeb Paris trwy chwarae rhan arweinyddol mewn ymdrechion rhyngwladol i frwydro yn erbyn y newid yn yr hinsawdd, gan ddangos ymrwymiad trwy leihau allyriadau'n fuan o fewn economi'r DU, cynyddu gwariant datblygu ar amcanion yn ymwneud â'r hinsawdd ac anelu at ddarbwyllo pob gwlad i ymrwymo i nodau sero-net ar yr hinsawdd erbyn Cynhadledd 2020 y Cenhedloedd Unedig yn Glasgow ar yr hinsawdd.
- Defnyddio ein rôl yn yr UE i fynd i'r afael â'r argyfwng ar yr hinsawdd, trwy osod targed sero-net rhwymol ledled yr UE ar gyfer 2050, a pharhau i gymryd rhan ym Marchnad Ynni Mewnol yr UE, i ddarparu mynediad i ffynonellau ynni glân tra'n cadw costau'n isel.
- Cryfhau nodau yn ymwneud â'r hinsawdd a'r amgylchedd yng nghytundebau masnach a buddsoddi'r UE a gwrthod ymrwymo i unrhyw gytundebau masnach â gwledydd sydd â pholisïau sy'n groes i Gytundeb Paris, gan gynnwys cytundeb masnach rydd rhwng Mercosur a'r UE oherwydd gweithredoedd llywodraeth Brasil yn yr Amazon.
- Cychwyn trafodaethau o fewn y Cenhedloedd Unedig ar gyfer cytuniad rhyngwladol sy'n rhwymo mewn cyfraith ar leihau'r defnydd o blastigau.

- Darparu mwy o adnoddau ar gyfer cydweithredu amgylcheddol rhyngwladol, yn enwedig ar y newid yn yr hinsawdd ac ar gamau i fynd i'r afael â masnach anghyfreithlon ac anghynaliadwy mewn pren, bywyd gwyllt, ifori a physgod.
- Dadlau dros roi diwedd ar yr holl gymorthdaliadau ledled y byd ar gyfer tanwydd ffosil a darparu cymorth i wledydd sy'n datblygu i'w helpu i drosglwyddo i ffynonellau ynni glân.

Mae'r maniffesto hwn yn nodi polisïau a blaenoriaethau Democratiaid Rhyddfrydol Cymru ar gyfer yr Etholiad Cyffredinol. Mae'r Democratiaid Rhyddfrydol wedi llunio maniffesto ar wahân ar gyfer Lloegr. Mae ein cydweithwyr yn Nemocratiaid Rhyddfrydol yr Alban wedi llunio eu maniffesto eu hunain ar gyfer yr Alban. Mae ein chwaer blaid, Plaid y Gynghrair Gogledd Iwerddon, yn llunio ei pholisi ei hun ar faterion datganoledig yng Ngogledd Iwerddon.

**E-bost**: enquiries@welshlibdems.org.uk
Mae'r maniffesto hwn ar gael ar-lein yn: https://www.welshlibdems.wales/policy_papers

I gael rhagor o wybodaeth am gael copïau o'r maniffesto hwn mewn fformatau eraill, anfonwch neges e-bost at enquiries@welshlibdems.org.uk

Cyhoeddwyd a hyrwyddwyd gan Mike Dixon ar ran y Democratiaid Rhyddfrydol, y ddau yn 8-10 Great George Street, Llundain SW1P 3AE.

Cynllun a dyluniad gan: Louise Tait ar gyfer Think Publishing Ltd, 8fed llawr, Capital House, 25 Chapel Street, Llundain NW1 5DH, www.thinkpublishing.co.uk.

